hefyd eich bod chwithau fel eglwys wedi gwneyd camgymeriad wrth alw un yr oedd eich adnabyddiaeth o hono mor brin. Ond un o'r pethau a barai i mi bryderu fwyaf oedd, diffyg ffydd yn fy adnoddau fy hunan a'm cymhwysder i'r gwaith. Yr oeddwn yn cofio ddarfod i mi y troion y buaswn yma bregethu y rhai a ystyriwn i fy mhregethau goreu, ac yr oeddwn yn anobeithio bron allu cadw i fyny â'r marc yr oeddwn, fel yr oedd yn ymddangos, wedi ei ennill yn meddyliau rhai o honoch. Ar yr un pryd, yr wyf yn meddwl y gallaf ddyweyd yn gydwybodol nad oedd yr ystyriaeth hon ond dibwys yn fy ngolwg o'i chymharu â'r ofn a'r dychryn oedd ac sydd ynof am ddiogelwch fy nghyflwr fy hun? A oedd genyf fi fy hun grefydd? A oeddwn i yn gadwedig? A oeddwn i yn adnabod Ceidwad dyn? Pa un ai anghenrhaid ai galwedigaeth oedd fy mhregethu? Y cwestiynau hyn oeddynt yn cloddio i fyny waelodion fy enaid, 'rhag wedi i mi bregethu i eraill fod fy hun yn anghymeradwy.' Gall hyn ymddangos yn rhyfedd i ti, â thithau wedi fy nglywed gynifer o weithiau yn annog pechaduriaid mor daer i dderbyn y Gwaredwr. Ond dyna ydyw fy mhrofiad i. Nis gwn pa fodd y bydd pregethwyr eraill yn teimlo; ond byddaf fi yn ymwybodol yn aml fod wmbreth o ffug o fy nghwmpas, ac nad ydwyf yn dyfod i fyny nid yn unig â'r hyn a ddylwn fod, ond â'r hyn y tybir fy mod gan fy nghyfeillion a'm perthynasau. Byddaf yn meddwl weithiau pe byddai i Cadwaladr a Marged Rees o'r Tyddyn Bach edrych arnaf trwy fy llygaid i fy hun na byddai iddynt fy adnabod fel eu mab Noah. Bum yn dychymygu ganwaith beth oedd yn myned trwy feddyliau pobl wrth fy nghymharu yn yr hyn oeddwn yn y pulpud â'r hyn oeddwn yn y cwmni?—yn y capel ac yn y tŷ? Dywed y gwir yrwan, onid oeddit ti yn meddwl fy mod yn *shamio* yn ddychrynllyd? Onid oeddit yn fy ffieiddio? saith o'r gloch yn y pulpud yn ymddangos i'r gynnulleidfa fel pe buasai fy mhryder am eu bywyd tragywyddol bron a fy llethu, a naw o'r

gloch yn y cwmni, yn ysgafn fy ysbryd, ac o bosibl yn adrodd ystori i beri chwerthin! Y fath *transition!* Dyma i ti gyfuniad o'r *sublime* a'r *ridiculous!* Bum yn gobeithio ddegau o weithiau nad oedd pobl yn edrych arnaf fel yr oeddwn i yn edrych arnaf fy hun. Yr wyf yn credu y gallaf ddyweyd yn onest nad oes dim mor gas genyf â diffyg *reality*—a hyn ydyw y rheswm fy mod yn casâu fy hun yn fwy na neb arall a adwaenais erioed. Nis gallaswn ddyweyd hyn wrth bawb; nid ydyw ffyliaid yn fy neall, ac nid wyf yn deall fy hun—yr ynfytyn mwyaf o bawb. Yr wyf yn gwybod fy mod yn dueddol i fod yn bruddglwyfus, ac i edrych i mewn yn lle edrych allan; ond yr wyf yn canfod y fath *duplicity*—pa air Cymraeg a gâf?—yn fy nghymeriad, fel ag i gyfiawnhâu llawer ar fy ofnau am ddiogelwch fy nghyflwr, fel y dywedais A wyt ti yn cofio y desgrifiad o'r pregethwr gau sydd gan Pollock yn ei *Course of Time?* Bum yn arswydo ugeiniau o weithiau wrth ei adgofio.

"Pan oeddwn yn meddwl am ddyfod atoch, yr oeddwn yn meddwl hefyd y dysgwylid i mi lenwi lle y diweddar Mr. Williams; a dychymygais weled fy hunan lawer gwaith yn ei ddillad ef, a'r rhai hyny yn fflabio mwy o fy nghwmpas nag yr oedd dillad Saul am Dafydd gynt. Ond er hyn oll, yr oeddwn yn ymwybodol fod rhywbeth yn dyweyd wrthyf, 'Dos,' fel y bum yn adrodd wrthyt; ac mewn ufudd-dod i'r rhywbeth hwnw y cyrhaeddais orsaf y Dreflan, ymha le y cyfarfyddais â'r gŵr rhyfedd yna, Mr. Pugh. Fy unig adnabyddiaeth flaenorol o Mr. Pugh oedd fel un a welswn yn eistedd yn nghanol y capel, ac yn gwneyd daioni i galon dyn wrth ei weled yn gwrandaw mor astud, ac fel un y clywswn ei fod yn oruchwyliwr i foneddwr yn y gymydogaeth hon, yr hwn sydd Eglwyswr zelog; a dyna'r cwbl a wyddwn am dano. Parodd ei dderbyniad llawen a chroesawus o honof i ran fawr o'r baich syrthio oddiar fy meddwl. Yr oedd gan Mr. Pugh hogyn yn ei ganlyn, yr hwn a alwai yn Jim. Yr oedd rhywbeth yn ymddangosiad yr hogyn hwn a

barodd i mi deimlo dyddordeb neillduol ynddo y foment gyntaf y gwelais ef. Yr oedd ei wisg braidd yn newydd, ac yntau yn ymddangos fel pe na buasai yn gynnefin iawn â dillad da. Mi welaf dy fod yn gwenu; ond cofia mai adrodd yr ydwyf yr argraff a wnaeth yr hogyn ar fy meddwl i. Yr oedd yn fychan ac eiddil o gorffolaeth; ond yr oedd rhywbeth yn ei wyneb, ac yn enwedig yn y cyfrwysdra a lechai yn nghonglau ei lygaid, a barai i mi feddwl ei fod yn llawer hŷn nag y buasai un yn tybied ar yr olwg gyntaf. Edrychai Jim mor ddyfal ac awyddus i lygaid Mr. Pugh, nes dwyn i'm cof yn rymus y modd y bydd cŵn defaid bugeiliaid Meirionydd yn edrych i wynebau eu meistriaid, ac eto yr oeddwn yn berffaith sicr nad oedd dim yn cymeryd lle o'n cwmpas na neb yn myned heibio i ni heb fod Jim yn gweled ac yn gwybod y cwbl. Wedi i mi gael fy holl *luggage* allan o'r gerbydres, gorchymynodd Mr. Pugh i Jim gymeryd eu gofal. Teimlwn braidd yn anfoddlawn i'r fath drysorau gael eu hymddiried i hogyn mor fychan; a deallodd Mr. Pugh fy mhryder, a dywedodd,

"'Ho! ho! mi wranta i Jim; 'does dim eisio dyweyd ddwywaith wrth Jim.' Cymerais ei air. Yr holl amser hwn yr oedd Mr. Pugh yn gafael yn glôs yn fy mraich fel pe buasai yn ofni i mi redeg i ffwrdd. Pan oeddym oddeutu ugain llath tu allan i'r orsaf, yr oedd Jim yn ddisymwth wrth ein sodlau, ac yn tynu yn labet côb Mr. Pugh.

"'Meistar,' ebe efe yn gyffrôus, 'dydi'r *bugle* ddim wedi dwad!'

"Chwarddodd Mr. Pugh nes ydoedd bron a syrthio. Wedi iddo adfeddiannu ei hun i raddau, dywedodd,

"'Mae y *bugle* yr oeddwn i yn ei ddysgwyl wedi dwad, Jim. Cer di o gwmpas dy *fus'nes*.'

"Yr oedd yr ymgom hon yn ddirgelwch hollol i mi; ond eglurodd Mr. Pugh i mi, dan chwerthin nes oedd bron a hollti, mai myfi oedd y *bugle*. Dygwyddodd i Mr. Pugh ddyweyd wrth Jim ei fod i fyned gydag ef i'r *station* i gyfarfod 'y bugail,' a thybiodd yr hogyn mai yr offeryn cerdd a elwir y *bugle* a olygai.

"'Campus,' ebe Mr. Pugh—'*bugle;* wel, wired â mod i yn y fan yma! A! mae gen i *lot* i ddeyd wrthoch ch'i am y bachgen ene rw ddiwrnod;' a chwarddodd drachefn a thrachefn.

"Ar y ffordd yr oedd Mr. Pugh yn siarad yn ddiderfyn, ac mor llawen a dyddorol, nes yr oeddwn wedi colli pob cof am danaf fy hun a fy mhryder. A dyweyd y gwir i ti, yr oeddwn ymhell cyn cyrhaedd y tŷ yn gafael yn fwy clòs yn Mr. Pugh nag yr oedd efe ynof fi. Os nad ydwyf yn camgymeryd yn ddirfawr, ni welais neb erioed ag y mae ei du mewn wedi ei argraffu mor fras ar ei wyneb ag ydyw Mr. Pugh. Yr oeddym yn cerdded yn lled gyflym, ac hyd yr ydwyf yn cofio ni ddarfu i ni sefyll i siarad â neb oddigerth dwywaith, a hyny am ychydig fynydau; ond erbyn i ni gyrhaedd at y tŷ, er fy syndod, yr oedd fy holl gelfi yn daclus yn y *lobby*, a Jim, gan eistedd ar y gist dê oedd yn cynnwys fy llyfrau, yn ein dysgwyl. Tarawodd ei law ar ei gap, a rhoddais innau fy llaw yn fy llogell ar feddwl rhoddi rhywbeth iddo am ei drafferth; ond attaliwyd fi gan Mr. Pugh, a dywedodd y gofalai efe am hyny. Ymddangosai Jim braidd yn siomedig; a phan drodd Mr. Pugh ei gefn, gwelais Jim yn estyn ei dafod allan arno mewn *revenge*. Deallodd fy mod wedi ei ddal ar y weithred anweddus hon, ac estynodd ei dafod allan eilwaith, gan gymeryd arno fod ganddo boen ynddo. Bu raid i mi droi fy mhen draw rhag chwerthin yn ei wyneb, ac yr oeddwn yn sicr fod Jim y fynyd hono yn estyn ei dafod arnaf finnau—mor sicr â phe buaswn yn ei weled

"Nid oeddwn wedi bod bum' mynyd yn y 'Cartrefle'—oblegid felly y gelwir tŷ Mr. Pugh, yr wyf yn deall, heb gael esboniad llawn ar yr awydd a fyddai yn y bechgyn yn yr Athrofa, pan ddeuent yma i bregethu, am gael myned i lettŷa at Mr. Pugh. Yr oedd y tŷ wedi ei ddodrefnu yn ardderchog; ond yr oedd rhywbeth mor gartrefol a Chymreig o gwmpas ei breswylwyr, fel yr oeddwn yn teimlo mor hapus a rhydd yno â phe buaswn yn y Tyddyn Bach. Tybiaswn wrth ddyfod gyda Mr.

Pugh o'r orsaf na welswn neb erioed y gallwn ei hoffi yn fwy hyd nes y gwelais Mrs. a Miss Pugh. Derbyniwyd fi gan Mrs. Pugh gyda'r fath groesaw tawel a serchog, nes gwneyd i mi gofio am y modd y byddai fy mam yn fy nerbyn pan ddeuwn adref o'r Athrofa; a bu agos i mi anghofio fy hun, a thori allan i wylo, ac yr wyf yn cyfaddef i mi orfod cymhwyso fy nghadach poced yn lled nerthol at fy nhrwyn i guddio fy ngwendid. Cefais fy *introducio* gan Mr. Pugh i'w wraig a'i ferch fel Mr. Rees y '*bugle*' a bu raid iddo yn gyntaf oll gael adrodd iddynt yr ystori.

"'Pitar,' ebe Mrs. Pugh, 'peidiwch a dyweyd y stori wrth neb arall, rhag i Mr. Rees gael llysenw trwy ffolineb yr hogyn gwirion ene.'

"Nid oeddwn wedi gweled y perygl o hyny hyd y foment hono, ac yr oeddwn yn teimlo yn ddyledus iawn iddi. Fel yr awgrymais, yr oedd yn hawdd gweled oddiwrth faint y tŷ, a'r modd yr oedd wedi ei ddodrefnu, fod Mr. Pugh yn ŵr cefnog iawn; ond nid oedd dim yn ymddygiad nac ymddangosiad y teulu i arwain neb i feddwl eu bod uwchlaw amgylchiadau cysurus. Yr oedd Mrs. a Miss Pugh wedi ymwisgo mor blaun fel nad oes genyf y fynyd hon un dychymyg beth oedd lliw a llun eu dillad. Galwai Mr. Pugh Mrs. Pugh yn Jane. Galwai Mrs. Pugh Mr. Pugh yn Pitar. Galwai y ddau y ferch yn Kit. Yr oedd hyd yn nôd Miss Pugh yn galw Mr. Pugh yn dad, a Mrs. Pugh yn fam, ac ni chlywais mo honi unwaith yn eu hanerch fel *papa a mamma.* Ni welais yn fy mywyd foneddiges yn llenwi cader ddwyfraich càn hardded a Mrs. Pugh. Er ei bod bellach yn hen, edrychai mor brydferth, siaradai mor fwyn a synwyrol, fel y gallaswn edrych a gwrandaw arni am ddiwrnod cyfan heb flino. Pe buasai fy mam yn y Tyddyn Bach yn gwybod y diwrnod hwnw fel yr oeddwn yn edmygu Mrs. Pugh, buasai yn teimlo yn *jealous* iawn, mi wn. Gyda golwg ar Miss Pugh, nid wyf yn sicr y gallaf ddesgrifio i ti fy syniad am dani. O ran pryd a gwedd nid ydyw yn neillduol o brydferth, ac y mae yn rhy fer ac eiddil i fod

yn olygus; ac eto ni wnaeth neb erioed y fath argraff arnaf. Paid a chamesbonio fy ngeiriau, yrwan. Pan glywais hi yn galw ei thad yn dad, a'i mam yn fam, rhoddais ei henw i lawr ar unwaith fel geneth gall. Ni welais neb erioed mor lân oddiwrth rodres neu *affectation*, fel y byddwn yn dyweyd. Ni chanfyddais ynddi rithyn o ddim nad oedd yn berffaith gydweddol â gwyleidd-dra yr angyles fwyaf pur; ac eto cyn i mi fod hanner awr yn y 'Cartrefle,' ymddygai tuag ataf fel pe buasai yn fy adnabod er ys blynyddau. Canfyddwn ynddi rywfodd gyfuniad prydferth o nodweddion arbenicaf ei rhieni. Yr oedd caredigrwydd ac unplygrwydd ei thad, ynghyd a synwyr cryf a mwyneidd-dra ei mam, wedi eu cyfrodeddu ynddi mor berffaith, nes ffurfio rhywbeth nas gwn beth yn iawn i'w alw, ond sydd â'i ddylanwad yn orthrechol. Gofalodd Rhagluniaeth am iddi beidio bod yn nodedig am brydferthwch, onidê buasai wedi gyru ugeiniau o wŷr ieuainc, yr wyf yn ofni, i'r gwallgofdŷ. Mi welaf dy fod yn gwenu eto, ac y mae yn rhaid i mi erfyn arnat i beidio camesbonio fy ngeiriau. Mae yn arw o beth na chaiff dyn adrodd yr argraffiadau a wnaed ar ei feddwl heb i ti dynu camgasgliadau. Yr oedd Miss Pugh yn siarad Cymraeg mor groew a diledìaith, ac yn ymddangos i mi mor ddiymhongar, fel mai o'r braidd y gallaswn gredu yr hyn a glywais am dani ar ol hyny, sef ei bod yr un mor hyddysg yn y Ffrancaeg a'r Germanaeg, ac yn gallu gwneyd i'r berdoneg siarad yr iaith a fynai. Fy nghyfaill, maddeu i mi os ydwyf dipyn yn frwdfrydig; y mae Miss Pugh yn un o fil! Mae mwyafafrif boneddigesau ein dyddiau ni yn tybied os byddant yn gwybod beth ydyw ystyr *wie befinden se sich*, y dylent yr un foment anghofio ystyr, Sut yr ydych chwi? Onid ydyw yn flaith fod cannoedd o'n cyfeillesau prydferth ac anwyl yn pendroni gyda'r Ffrancaeg a'r Germanaeg am flynyddau—ieithoedd na fyddant o un defnydd ymarferol iddynt byth—ac yn esgeuluso neu ynte yn rhy falch a rhodresgar i ddysgu y Gymraeg lân fendigedig! Ar yr un pryd, deuant i'r capel Cymreig ar y Sabbothau i

eistedd fel delwau, neu yn hytrach fel paganiaid, heb ddeall iaith y pregethwr. Onid oes lle i ofni fod llawer o'n boneddigesau parchusaf yn treulio oes heb ddeall unrhyw iaith y traethir ynddi yn eu clywedigaeth wirioneddau bywyd ac anfarwoldeb!

"Tra yr oeddwn i a Mrs. a Miss Pugh yn ymgomio am y peth yma a'r peth arall, cerddai Mr. Pugh yn ol a blaen yn aflonydd, a gofynai yn barhâus ai onid oedd y tê agos a bod yn barod bellach, a chyn i'r pryd fod prin wedi ei osod ar y bwrdd, gofynodd fendith arno â'i lygaid yn agored; ac heb roddi cymaint a diweddnod, dechreuodd fy ngwestiyno beth a gymerwn i'w fwyta. Yr oedd yno gyflawnder o bob danteithion, a synai y gŵr caredig fy mod yn bwyta cân lleied, ac o'r braidd y gallwn ei berswadio fy mod yn iach. Yr oedd yn ymddangos mai un o bleserau penaf Mr. Pugh oedd gweled pawb o'i gwmpas yn bwyta yn galonog; canys yr oedd ei lygaid yn cynniwair yn barhâus i edrych a oedd gan bawb yr hyn a fynai; a chyda hyny yr oedd bob rhyw ddau fynyd yn estyn tamaid i'r ci bach yr oedd wedi ei ddysgu i sefyll ar ei draed ol, ac i'r gath oedd yn eistedd yn grwn ar dop y gadair wrth ei ysgwydd. Nid cynt yr oedd y pryd drosodd nag y gadawodd Mr. Pugh yr ystafell er mwyn rhoddi tro i'r buarth, i weled a oedd gan y ferlen, a'r fuwch, a'r mochyn, a'r creaduriaid eraill 'fwyd.' Tra yr oedd efe wrth y gwaith hwn, yr oeddwn innau, gyda chynnorthwy Mrs. a Miss Pugh, yn astudio darluniau ysplenydd yr ystafell. Edrychwn ar *oil painting* o fachgen ieuanc, pan ddychwelodd Mr. Pugh yn llawn ffwdan ac yn chwythu yn enbyd. Daeth i fy ymyl, a gofynodd i mi a oeddwn wedi blino. Atebais nad oeddwn mewn un modd. Nid oeddwn yn canfod dim tebygolrwydd yn y darlun i neb a welswn erioed, ac nid oedd dim neillduol ynddo ond fod y ffrâm yn ymddangos yn hynod gostus. Bum mor anffortunus a gofyn darlun o bwy ydoedd. Cân gynted ag y gofynais y cwestiwn, gadawodd Miss Pugh yr ystafell. Gogwyddodd yr hen ŵr llawen ei ben, a thaenodd cwmwl cân ddued ag anobaith

dros ei wyneb, tra y treiglai deigryn i lawr ei ddwy rudd; a chyda llais dystaw oedd heb fod o gwbl yn debyg i'w lais ef ei hun, dywedodd, a phob gair fel pe buasai yn ei dagu,

"'Pictiwr—ydyw—o—fy—machgen—Bob.'

"Rhoddodd fy nghalon dro ynof, a theimlwn, er yn ddiniwed, fel pe buaswn wedi trywanu yr hwn a ddangos asai y caredigrwydd mwyaf tuag ataf. Ni wyddwn pa beth i'w ddyweyd. Edrychais, ac yn ddigon ynfyd mi wn, ar Mrs. Pugh; cauodd hithau ei dwrn arnaf yn awgrymiadol i beidio son ychwaneg am y darlun. Ni theimlais erioed mor annigonol i'r amgylchiad. Ni wyddwn pa un ai wedi marw ai 'dafad ddu oedd y bachgen Bob.' Ofnwn mai yr olaf. Pan fedrais hel fy meddyliau at eu gilydd, cymerais afael yn mraich Mr. Pugh, ac arweiniais ef mor garedig ag y gallwn i ben arall yr ystafell lle yr oedd ffenestr yn gwynebu'r ardd, a cheisiais droi yr ymddyddan at rywbeth arall. Os bu yr ychydig allu ymddyddanol a feddaf ar ei lawn egni erioed, y tro hwn y bu; a chyda chynnorthwy Mrs. Pugh, llwyddais tu hwnt i'm dysgwyliad. Ymhen ychydig fynydau yr oedd y cwmwl wedi cilio, a Mr. Pugh yn ei hwyliau arferol. Dywedodd wrthyf fod yn rhaid i mi fyned gydag ef i weled rhai o fy nefaid, fel y galwai efe aelodau yr eglwys. Nid oedd yn ddrwg genyf ei glywed yn dyweyd hyn. Yr oeddwn yn deall fod Mr. Pugh wedi gofalu am lettŷ cysurus i mi gyda gwraig weddw heb fod yn hen iawn, yr hon a ystyrid yn ddynes lân a pharchus, ond hysbyswyd fi mai yn y 'Cartrefle' yr oeddwn i aros y noson hono. Pan oedd Mr. Pugh a minnau yn cychwyn allan, cyfarfuasom â Miss Pugh. Yr oedd ei llygaid yn ymddangos yn llaith; ond pan welodd hi ei thad yn edrych mor llawen, daeth y fath gyfnewidiad dros ei hwyneb nes oeddwn braidd yn tueddu i alw yn ol y syniad a ffurfiaswn am dani, sef nad ydoedd yn brydferth. Pan oeddym yn troi am un gongl i'r tŷ, gwelwn wrth y gongl arall *beak cap*—trwyn, ac un llygad o'r eiddo Jim yn ein gwylio, ac ar yr un foment

dychwelodd Mr. Pugh i'r tŷ i geisio ei spectol. Càn gynted ag y cafodd Jim gefn ei feistr, daeth ar un llam i fy ymyl, gan daraw ei law ar ei gap. Deallais ei neges, a rhoddais iddo swllt. Gloëwodd ei lygaid prydferth, a gwadnodd i ffwrdd fel carw i fyny un heol ac i lawr heol arall, a chyn pen chwarter mynyd yr oedd o'r golwg. Prin y gallwn gredu ei fod ar gymaint brys a hyny am wario y swllt; a tharawodd i fy meddwl y gallai fod gan yr hogyn cyfrwysddrwg hwn rywun oedd yn anwyl a hoff ganddo, i'r hwn neu yr hon y cariai ei ennillion. Dechreuais feddwl yn well o Jim.

"'Y lle cynta' y rhaid i mi fyn'd â ch'i ydi'ch *lodjin*,' ebe Mr. Pugh. 'Mrs. Jones ydi enw'r wraig; gwraig weddw ydi hi;—dynes glên shoe ond ei bod hi braidd yn son gormod am ei gŵr ymadawedig; ond mi ddowch i ddygymmod â hyny yn fuan.'

Felly yma y daethom, a rhaid i mi bellach siarad yn ddystawach. Curodd Mr. Pugh ddrws y tŷ gyda phen ei ffon mor enbyd o drwm nes oeddwn yn dychymygu gweled y wraig dda yn neidio llathen oddiwrth lawr y gegin; ac yn y fynyd clywem hi yn dyfod i agor i ni gan siarad yn uchel,

"'Yn eno pob rheswm, be sy ma?'

"Can gynted, pa fodd bynag, ag y gwelodd Mrs. Jones mai Mr. Pugh oedd yn euog o guro mor ddireswm, a chodi yr holl gymydogaeth, newidiodd tôn ei llais y foment hono, a dywedodd,

"'Wel, Mr. Pugh bach, yr oeddwn i'n meddwl mai ch'i oedd ene; a phwy sy gynoch chi hefo ch'i? Wel, Mr. Rees, y'n gwnidog ni, yn siŵr ddigon. Wel, dowch i mewn, y mae yn dda gen i'ch gwel'd ch'i; ydi, o nghalon, ac mi fase dda gan Enoc Jones hefyd dase fo byw; yn fase, Mr. Pugh? Pwy oedd yn nabod Enoc Jones yn well na ch'i, Mr. Pugh?

"'Wel oeddan, 'roeddan ni'n nabod y'n gilydd yn o lew,' ebe Mr Pugh; ac ychwanegai, 'Be dach chi'n feddwl o'ch lodjiwr, Mrs. Jones? ydach chi'n addo rhoi digon o fwyd iddo, ac edrach ar ei ol o'n symol?'

"'Wel, rydach chi'n un garw, Mr. Pugh. 'Roedd Enoc Jones yn wastad yn deyd na welodd o rioed ych bath ch'i; a phwy oedd yn ych nabod chi'n well nag Enoc Jones, yntê, Mr. Pugh? ydach chi'n gynhes, Mr. Rees? ga i nol *slippers* i ch'i? Mi fydde Enoc Jones yn deyd yn wastad fod dyn yn gyffwyso yn well yn 'i *slippers*.'

"'Dydi Mr. Rees ddim yn myn'd i aros yma heno,' ebe Mr. Pugh.

"'Ddim yn myn'd i aros yma? B'le mae o'n myn'd, mod i mor hŷ a gofyn? Oes ne ddim byd yn y capel heno, oes ne? oes gynoch ch'i gyhoeddiad yn rhwle heno, Mr. Rees?'

"'Na, mae o'n dwad atom ni heno, ac mi ddaw atoch chithe fory. 'Doeddwn i ddim ond yn dwad i'w ddangos o heno,' ebe Mr. Pugh.

"'Wel, yr ydach chi'n un garw, Mr. Pugh, fel yr oedd Enoc Jones yn wastad yn deyd. Newch ch'i gymyd paned o goffi, Mr. Rees?'

"'Dim, diolch i chwi, Mrs. Jones; ni byddaf yn cymeryd coffi'r nos,' atebais.

"'Fydde Enoc Jones ddim chwaith. 'Roedd o yn wastad yn deyd fod coffi yn rhy drwm. Fyddwch ch'i yn cymyd coffi i frecwast, Mr. Rees?'

"'Na byddaf, bron un amser.'

"'Wel ydach ch'i run fath ag Enoc Jones yn union; dydi o, Mr. Pugh?'

"'Ydi, yn enwedig o gwmpas plygiad ei benelin,' ebe Mr. Pugh yn chwareus; ac ychwanegai, 'Cewch hamdden eto, Mrs. Jones, i weled mwy o debygolrwydd rhwng Mr. Rees a Mr. Jones; ac ystyriwch chithe hi yn *gompliment*, Mr. Rees, cael eich cymharu â dyn mor dda.'

"'Wel, pwy oedd yn nabod Enoc Jones yn well na ch'i, Mr. Pugh? nos dawch, os rhaid i ch'i fynd, ond chawsech ch'i fawr o fyn'd mor swta dase Enoc Jones yn fyw."

"'Be dach ch'i feddwl o Mrs. Jones a'ch *lodjin?* gofynai Mr. Pugh i mi. Atebais mai fy argraff oedd

ei fod yn lle cysurus a glân, a bod Mrs. Jones yn ddynes daclus, onest, a charedig, ac yn un hawdd byw gyda hi, ond dipyn yn wan.

"'*Right*, 'y machgen i,' ebe fe. 'Byddŵch yn berffaith hapus wedi i ch'i ddygymmod hefo'r son am Enoc Jones. Wyddoch chi'r cynghor gefais i ystalwm? Dyma fo: i beidio priodi gwraig weddw os na byddai ei gŵr cynta' hi wedi diweddu ei oes ar y crogbren neu yn y *transport*, achos os bydd y gŵr cynta' wedi ei grogi ne ei *dransportio*, chlywch ch'i byth moni yn son am ei enw; ond os bydd o wedi bod yn ŵr go dda, chlywch ch'i byth y gair diwaetha am dano Yrŵan mi awn i edrach am Mr. Smart, un o'r defed mawr,' ebe Mr. Pugh."

Aeth Noah Rees ymlaen gyda'i adroddiad o'i argraffiadau cyntaf; ond gan fod y bennod eisoes yn rhy faith, rhaid i mi adael y gweddill hyd y nesaf.

---

## PENNOD XII.

### MR. SMART.

FEL y dywedwyd yn y bennod o'r blaen, aeth Noah Rees ymlaen gyda'r adroddiad.

"'Yrŵan,' ebe Mr. Pugh wrthyf, 'mi awn i edrach am Mr. Smart. 'Does dim llawer o gybyddiaeth rhyngoch ch'i âg o, ddyliwn, Mr. Rees? Dyn *noble* anwêdd ydi Mr. Smart, ond i fod o dipyn yn rhy gysàct, fydda' i'n meddwl. Mae gan bawb 'i ffordd, wyddoch, Mr. Rees; a be' dale hi fel arall? Mae tipyn o'r gŵr boneddig yn Mr. Smart; ond be' all y dyn wrth hyny? Mae rhai yn deyd mai 'i falchder o ydi'r cwbl, ac mai denc ydi'r rheswm am i fod o mor grêt hefo pobl Eglwys Loeger. Choelia i fawr; dene ydi natur y dyn. Wydduch ch'i be'? mi fum i yn synu lawer gwaith fod Mr. Smart heb

fod yn Eglwyswr, achos mae pobol yr Eglwys, mi wyddoch, yn fwy o fonddigion na ni yr Ymneillduwyr—yn fwy gysàct rwsut; ac mi fase Mr. Smart, fum i'n meddwl, yn fwy cyfforddus yn yr Eglwys nag yn y capel. 'Dall e aros weled pobol yn dwad i'r moddion chwarter awr ar ol yr amser, neu yn dal eu pene i fyny, ac yn edrych o'u cwmpas pan fydd brawd yn gweddïo. Mi gês i scyffyl ryfeddol hefo fo unwaith am roi fy het am fy mhen cyn myn'd allan o'r capel; mae o mor gysàct a hyny. Mae o'n myn'd o'i go' os byddwn ni dipyn yn aflêr hefo'n cyfraniadau, neu os gweliff o rw anweddeidd-dra. Dene'r Cyfarfod Misol diwaetha; mi ddoth i roi tro i'r ysgoldŷ pan oedd y brodyr yn cael cinio; ond pan ddoth o at y drws, welsoch ch'i rioed mor swta y trôdd o yn 'i ol. Mi wyddwn mewn mynyd be' oedd yn 'i glopa fo. 'Lle 'dach chi'n myn'd, Mr. Smart?' ebe fi. 'Mr. Pugh,' ebe fo, 'welwch chi'r bobol ene yn byta â'u hetie am eu pene? a ffwrdd â fo. Mae o mor gysàct a hyny. Waeth i ch'i befo; Mr. Smart sydd yn 'i le, ac mi fydden yn well pobol o lawer dae ni yn gneyd fel y bydd o yn deyd wrtho ni. Mae o a fine yn cyttuno'n burion hyd nes y daw hi'n lecsiwn. Mi fydda' i'n ffraeo tipyn hefo fo yr adeg hono, achos ddeydith o byth i bwy y mae o am *votio;* ac y mae rhai yn cymyd mantes ar hyny, ac yn deyd mai *tory* ydi o. Dim ffasiwn beth, meddwn ine; dene ydi 'i ffordd o. Dae rh'wbeth yn ei gym'ryd o oddiwrtho ni, Mr. Rees, mi fydde'n glamp o golled i ni, yn siŵr i ch'i. Mae o'n cadw'r llyfre fel *copperplate*, ac mi fydda' i'n leicio 'i wel'd o yn y sêt fawr yn edrach mor lân a theidi â phin mewn papyr. Mae o yn flaenor clyfar anwêdd; ond piti na nae o weddïo yn gyhoeddus; neiff o byth. Mi ddeydith yn ods o dda ar y casgliad; ond 'does dim posib' i gael o ar 'i linie. Ond mi fydda' i'n meddwl weithie mai ddim yn leicio bod yn rhy hy ar y Brenin Mawr y mae o; mae'n gas ganddo bobol hyfion hefo phethe crefydd. Ond dyma ni wrth y tŷ,' ebe Mr. Pugh, gan guro y drws yn drwm â phen ei ffon; ac ar yr un foment dechreuodd grafu ei ben fel y bydd dyn pan

fydd wedi gwneyd camgymeriad. 'Wel, wel, mi ca' hi rŵan; chofies i ddim byd am y gloch.'

"Agorwyd i ni yn ebrwydd gan lodes ieuanc lanwaith a thaclus, yn dal canwyll yn ei llaw, a chap gwŷn at faint rhosyn wedi ei binio ar ei choryn; ac nis gallaswn lai nag edrych arni fel rhagfynegiad o gysactrwydd Mr. Smart, y soniasai Mr. Pugh am dano. 'Ydi Mr. Smart adre?' gofynai Mr. Pugh. 'Ydi, syr, dowch i mewn, os gwelwch yn dda.' Tra yr oedd y lodes yn cau y drws ar ein holau, a thra yr ydoedd yn curo drws y parlwr yn ochelgar a seremonïol, yr oedd Mr. Pugh yn wincian arnaf, ac yn codi ei ysgwyddau, gan awgrymu eu fod yn dysgwyl ei chael hi.

'"Oes yna dân yn rhywle, Mr. Pugh?' gofynai Mr. Smart. 'Yr oeddwn yn meddwl oddiwrth eich gwaith yn curo mor drwm fod hanner y Dreflan ar dân. Holo, Mr. Rees! y chwi sydd yma? Mae yn dda genyf eich gweled, syr; dowch ymlaen. Yr ydych wedi dyfod yn gynt nag yr oeddwn yn eich dysgwyl; ond nid yw eich croesaw yn llai am hyny. Mrs. Smart, Mr. Rees,—Miss Smart, Mr. Rees,—Fred fy mab, Mr. Rees,—Mr. Bevan, yr ydych yn ei adnabod ef, un o'r diaconiaid, chwi wyddoch? Tra yr oeddwn yn ysgwyd dwylaw â phawb, cymerodd Mr. Pugh ei eisteddle, ac mi wyddwn ar ei wyneb y teimlai yn hapus fod fy ymddangosiad annysgwyliadwy i wedi arbed iddo ei chael hi.

"Er fy mod wedi gweled Mr. Smart yn flaenorol, nid oeddwn cyn hyn wedi sylwi ei fod yn ddyn mor hardd. Nis gwn pa un ai am ei fod yn edrych i well mantais yn ei dŷ ei hun, ai desgrifiad blaenorol Mr. Pugh o hono, a wnaeth i mi edrych arno felly y noswaith hon; ond parodd ei daldra, ei ysgwyddau llydain, ei farf laes a thrwchus, a'i ymddangosiad *noble*, ys dywedai Mr Pugh, i mi deimlo yn fychan a diystyr yn ei ymyl. Ac nis gallaswn ymryddhâu oddiwrth y meddwl ei fod yntau hefyd yn edrych felly arnaf, ac yn dyweyd yn ddystaw yn ei fynwes, 'Wel, gresyn, gresyn, ei fod mor fychan ac eiddil.' Yr oeddwn yn argyhoeddedig o hyn bob tro yr

edrychai arnaf, er fy mod yn ceisio eistedd yn syth ac ymddangos mor fawr ag a allwn. Yr oeddwn yn gorfod cydnabod priodoldeb desgrifiad Mr. Pugh o hono, sef ei fod mor 'deidi â phin mewn papyr.' Yr oedd ei wallt wedi ei ddosranu ar hyd canol ei ben, ac wedi ei frwsio i lawr mor fanwl, nes yr oeddwn dan demtasiwn i gredu, pe symudasid un blewyn o'r naill ochr i'r llall, y buasai ei berchenog yn colli ei *centre of gravitation* y fynyd hono. Yr oedd ei ddwy locsen ddu a llaes mor debyg i'w gilydd âg ydyw dwy geiniog newydd ddyfod allan o'r *mint;* ac yr oeddwn yn meddwl ar y pryd pe cymerasai rhywun y drafferth o gyfrif a mesur y blew ar y naill gern a'r llall y cawsid hwynt yn cyfateb i berffeithrwydd. Trwy fod Mr. Smart yn wr o bryd pur ddu, yr oeddwn yn casglu oddiwrth y ffordd las oedd yn arwain oddiwrth ei wefus isaf hyd at gwlwm ei gadach; yr hon oedd yn ffurfio math o *avenue* ardderchog, ei fod yn eillio o leiaf ddwywaith yn y dydd. Yr oedd y cwlwm crybwylledig mor daclus â phe buasai wedi tyfu yno, ac yn gweithredu fel math o *pedestal* i'r goler fawr ddilychwin, yr hon oedd yn ymddangos i mi ei bod yn torsythu ac yn falch o'i sefyllfa, a'i dau big fel pe buasent yn sisial yn nghlust ei ddwy locsen mai coler bapyr oedd genyf fi am fy ngwddf. Yr oedd ei ddillad càn ddued â'r frân, a'i wasgod yn agor yn isel, gan ddadguddio crys main càn wyned â'r eira yn Salmon—mor wỳn fel pe dygwyddasài i wibedyn ddisgyn arno y buasai ôl ei draed i'w gweled yn amlwg. Heb son am yr aur a'r gemau oedd o'i gwmpas—heb son am ei *slippers* cochion, ai rhyfedd genyt ti os oeddwn yn teimlo fy mychander yn ei bresennoldeb, ac yn dechre ofni mai gwywo a chrebychu i fyny a fuaswn fel y lindys, ac y buasai rhyw forwynig yn dyfod o hyd i mi y flwyddyn nesaf wedi i mi fod yn gauafu dan glustog y gader yr oeddwn yn eistedd arni?

"Ni wnaf anturio desgrifio i ti yr argraff a wnaeth Mrs. Smart ar fy meddwl. Digon ydyw dyweyd na ddarfu i Mr. Smart ieuo yn anghymharus. Càn gynted ag y syrthiodd fy llygaid ar Miss Smart, yr oeddwn yn ben-

derfynol yn fy meddwl, er na ddarfu i mi ofyn am gadarnhâd o hyny, fy mod wedi gweled ei llun yn ddiweddar yn yr *Young Ladies' Journal of Fashion.* Nid ydwyf yn proffesu y gallaf ei desgrifio yn gyflawn, pe buasai anghenrheidrwydd am hyny. Yr oedd mor eiddil â'r syniad mwyaf arddansoddol o feinder, ac yr oedd ei thaldra a dillynrwydd cyffredinol ei hysgogiadau, yn wir weddeiddlwys. Nid wyf yn cofio i mi erioed weled neb yn meddu pryd mor dywyll. Trwy fod ei hwyneb mor welw, a'i haeliau a'i hamrantau mor dduon, pan fyddai yn edrych i lawr ar y *crocheting work* oedd ganddi yn ei dwylaw, nis gallaswn gymharu ei phryd i ddim ond i lafn o'r nos wedi ei dynu ar draws wyneb y dydd. Yr oedd ei safn mor fechan nes peri i mi feddwl nad oedd wedi ei bwriadu i ddim ond i fwyta eirin. Meddyliwn y gallasai fod ganddi dalcen uchel a phrydferth, oni buasai fod ei gwallt yn ei guddio yn ol dull uniongred yr hen Fethodistiaid, ac wedi ei dori mor gymhwys o fewn oddeutu modfedd i'w haeliau, nes dwyn i'm cof yn rymus dô gwellt ysgubor y Tyddyn Bach, ac yn wir godi hiraeth ynof am fy hen gartref. Yr oedd ganddi ffordd o osod ei phen ar un ochr, a chodi ei hysgwyddau, ag oedd yn siarad cyfrolau; ac wrth edrych arni, nis gallwn lai na meddwl mor bell ar ol y ffasiwn yr oedd Miss Pugh, druan. Yr oeddwn yn ymwybodol fod Miss Smart yn edrych arnaf, ac yn ddigon naturiol hefyd, fel *clodhopper.* Ymddangosai Fred yn hogyn bach digon diniwed, ac yn gwbl ddarostyngedig i ddysgyblaeth lem ei dad. Eisteddai ar gader uchel, a'i goesau meinion, y rhai a wisgid â *knickerbockers,* ac hosanau amryliw, yn brin o droedfedd i gyrhaedd y llawr. Edrychai mor lwfr, ac mor lonydd, ac yn meddu y fath arswyd o'i dad, nes yr oedd yn creu gwaew yn fy nghoesau. Os symudai law neu droed, byddai llygaid ei dad yn melltenu cerydd arno y foment hono. Unwaith bu mor anwyliadwrus â rhoddi ei ddwylaw yn ei bocedau; ond buan y gwnaed ef yn hysbys o'i ryfyg gan lais dwfn ac awdurdodol ei dad yn gwaeddi arno, 'Fred!' Mewn

eiliad yr oedd ei ddwylaw bychain drachefn yn gorwedd yn farwaidd ar ei gluniau, fel pe buasai yn myn'd i gael tynu ei lun. *Poor fellow!* yr oeddwn yn sicr mai Fred a finnau oedd y ddau fwyaf anghyfforddus yn yr ystafell. Yr oedd yr ymddyddan oedd yn myned ymlaen mor drwm o ran mater ac arddull fel nas gallasai yr hogyn bychan ei werthfawrogi, hyd yn nôd pe buasai yn deall tipyn o Gymraeg. Wedi iddo, trwy ymdrech digyffelyb ymron, gadw ei lygaid yn agored i edrych yn yr un cyfeiriad am yspaid ag oedd mewn gwirionedd yn glod iddo, cafodd cwsg o'r diwedd y llaw uchaf arno i'r fath raddau nes ei orfodi i'w cau am oddeutu dau eiliad. 'Fred!' ebe ei dad, a neidiodd y bychan diniwed yn ei gader fel pe buasai rhywun wedi ei drywanu yn ei feingefn.

"'My dear,' ebe Mr. Smart, gan anerch ei hanner oreu, 'mae yn amser i Fred fyned i'w wely. Now, Fred, say your verse to Mr. Rees before you go to bed.' Yr oedd y bychan yn rhy gysgadlyd i gofio yr adnod yn gywir; ond dywedodd gyda phob parodrwydd, 'Iesu d'wedodd, Cadewch i plant bwchin tyfod ataf i, a na wenyrwch irint.' O herwydd fod ei lygaid yn hanner cauedig, a'r naill hanner o hono mewn trwmgwsg er ys meityn, cafodd gryn drafferth i ysgwyd dwylaw â phawb o honom. Pa fodd bynag, wedi iddo gyflawni y gwaith hwn, ac i Miss Smart estyn ei boch wèn iddo i'w chusanu, ymbalfalodd allan o'r ystafell fel dyn wedi meddwi. Nis gwn pa fodd y bu, ond teimlwn wedi i Fred fyned i'r gwely ei fod rywfodd wedi taflu ei fantell drosof; canys yr oedd arnaf eisieu symud fy nghoesau a'm dwylaw yn barhâus, ond fod arnaf arswyd gwneyd hyny rhag y buasai Mr. Smart yn gwaeddi arnaf, 'Noah!' Ymddangosai pawb o'r cwmni, oddigerth Mr. Pugh, i mi fel rhan o'r dodrefn, gan mor sefydlog a *stiff* oeddym. Rhwng pobpeth, yr oeddwn yn teimlo yn dra annedwydd. Yr hyn oedd yn fy synu fwyaf oedd fod Mr. Pugh yn gallu bod mor rhydd a chartrefol. Estynai ei goesau allan, hapus ŵr! a gosodai ei draed ar y *fender*, a

throai a throsai fel pe buasai yn ei dŷ ei hun. Nis gallaf adrodd wrthyt gynifer o weithiau y bu raid i Mrs. Smart ailosod yr *antimacassar* oedd ar gefn y gader yr oedd efe yn eistedd arni. O'r diwedd arbedodd Mr. Pugh y drafferth iddi, trwy ei luchio yn ddirmygedig ymhell oddiwrtho. Pellebrodd Miss Smart â'i llygaid i lygaid Mrs. Smart; pellebrodd Mrs. Smart i lygaid Mr. Smart. Méddyliwn mai cynnwys y *telegram* oedd—'What an ignorant man!'

"Sylwaswn cyn hyn fod gan Mr. Pugh ffordd o siarad âg ef ei hun, a hyny yn hollol anymwybodol iddo ei hun; ac o herwydd fy mod yn eistedd yn glòs yn ei ymyl, yr oeddwn yn gallu deall rhai pethau a ddywedai.

"'Mr. Rees,' ebe Mr. Smart, 'yr oedd Mr. Bevan a finnau yn siarad yn eich cylch pan y curodd Mr. Pugh y drws mor ddireswm (rhoddodd Mr. Pugh winc arnaf ei fod yn *myn'd* i'w chael hi); ac fel y dywédais o'r blaen, y mae yn wir dda genyf eich gweled wedi dyfod yma. Er pan fu farw Mr. Williams, y mae yr achos wedi bod yn dyoddef o eisieu rhywun i ofalu am dano. ('Dim dowt,' ebe Mr. Pugh.) Gwnaeth Mr. Bevan a finnau ein goreu i'ch cael chwi yma (cododd Mr. Pugh ei ben fel pe buasai yn ammheu ei glust, a rhoddodd ef i lawr wed'yn, a dywedodd wrth ei wasgod, 'Symol, thenkiw'). Mae yn wir mai nid oddiwrthym ni fel diaconiaid y cychwynodd y peth ('Fu 'rioed well gwir,' ebe Mr. Pugh), ac fel y sylwodd Mr. Bevan mewn cyfarfod brodyr mai gwell fuasai i'r peth fod wedi dyfod oddiwrth y swyddogaeth ('Pryd y base hyny, tybed?' ebe Mr. Pugh); er ar yr un pryd, fel y sylwodd Mr. Bevan ar yr un amgylchiad, 'Mae perl i'w gael weithiau o enau llyffant' ('Piti na fase ni gyd yn llyffint,' ebe Mr. Pugh yn ddystaw). Yr wyf yn meddwl, Mr. Rees, y cewch ni yn bobl digon hawdd byw gyda ni, hyny ydyw, y swyddogion, càn belled ag y byddwn yn gallu cydweled ('Rheswm,' ebe Mr. Pugh). Er fy mod yn mawrhâu fy swydd fel diacon, nid wyf fi ddim, syr, ddim; ond am Mr. Bevan, yr ydych yn ei adnabod ef; y mae efe

wedi ei ddonio â'r cymhwysderau anghenrheidiol i'r swydd; mae yn hysbys o holl drefniadau Methodistiaeth, yn siaradwr gwych, yn rhywbeth yn y Cyfarfod Misol; ydyw, yn rhywbeth, syr. Am danaf fy hun, ni byddaf fi byth yn myn'd i Gyfarfod Misol, ac nid oes fy anghen yno.'

"'Mr. Smart,' ebe Mr. Bevan, 'mae yn rhaid i mi ——.'

"'Mr. Bevan,' ebe Mr. Smart, 'yr wyf yn adnabod fy hun' ('Mi faswn i yn leicio nabod fy hun,' ebe Mr. Pugh), ac yr wyf yn meddwl fy mod yn adnabod Mr. Bevan.'

"'My dear,' ebe Mrs. Smart, 'you are always running yourself down.'

"'Does he run himself down now, ma?' gofynai Miss Smart.

"'Well, don't you hear him?' ebe Mrs. Smart.

"'I do hear him, but, ma, you know I don't understand Welsh,' ebe Miss Smart.

"'My dear,' ebe Mr. Smart, gan gyfarch ei gig a'i waed, 'the subject we are now discussing is entirely outside the sphere of your observation, not to say comprehension.'

"'Cewch, Mr. Rees, chwi a gewch Mr. Bevan yn llaw ddehau, yn gynnorthwy, ac yn gefn i chwi. Yr wyf fi yn ceisio edrych ar ol y llyfrau, ac hwyrach y gallaf ddyweyd cymaint a hyn heb ymddangos fy mod yn ymffrostio—nad oes genyf ofn i neb eu gweled ('*Copperplate*,' ebe Mr. Pugh). Mae arnaf ofn fod y diweddar Mr. Williams wedi ein camarfer, Mr. Rees. Beth bynag a ddywedai Mr. Bevan—ac hwyrach y gallaf ddyweyd, a finnau ('A chwithau,' ebe Mr. Bevan), hyny a safai. Yr oeddym bob amser yn gallu cydweled. Yr wyf yn meddwl y gallaf ddyweyd hefyd, beth bynag a ddywed Mr. Bevan, y bydd y diaconiaid eraill, sef Mr. Phillips a Mr. Howells, yn rhoi i mewn. Gyda golwg ar Benjamin Prys y mae efe yn gofalu mwy am ansawdd ysbrydol yr eglwys nag am ei hamgylchiadau allanol ('*Poor* Benja,' oddiwrth Mr. Pugh). Ar y

cyfan, Mr. Rees, yr wyf yn meddwl y cewch ni yn bobl hawdd cydfyw â ni.'

"'Drwg genym, Mr. Rees,' ebe Mr. Bevan, 'nad allwn addaw gwell cyflog i chwi, gan nad ydyw nifer ein heglwys ond rhyw ddau cant a hanner.'

"'Mr. Bevan,' ebe Mr. Smart, 'esgusodwch fi—dau cant ac un ar ddeg a deugain.' ('Mor gysàct!' ebe Mr. Pugh.)

"'Thank you, Mr. Smart, Ië, gan nad ydyw ein nifer ond dau cant ac un ar ddeg a deugain, a'r rhai hyny gan mwyaf yn dlodion.'

"'Esgusodwch fi eto,' ebe Mr. Smart, 'mae wyth o bob deg, neu yn fwy manwl, wyth a hanner o bob deg, yn dlodion.'

"'Gwir, Mr. Smart,' ebe Mr. Bevan; 'gan fod wyth a hanner o bob deg yn dlodion, nid allwn ar hyn o bryd addaw yn gyflog fwy na deugain punt yn y flwyddyn.'

"'A'ch Sabbothau,' ebe Mr. Smart.

"'A'ch Sabbothau,' ebe Mr. Bevan; 'ond mewn lle fel hyn,' ychwanegai, 'yr wyf yn meddwl y gellwch fyw yn gysurus.'

"'*And respectable*,' ebe Mr. Smart, 'mae mwy yn hyny nag a feddyliai neb—i ddyn fod yn *respectable*. Mae Mr. Bevan yn gwybod y byddaf fi bob amser yn dyweyd mai yn y fan yna y mae pobl Eglwys Loegr yn ein curo; a llawer gwaith y dywedais hyny wrth y diweddar Mr. Williams. Dyna Mr. Brown, y curad: nid yw ei gyflog ef ond can' punt yn y flwyddyn, ac nid oes ganddo ef ei Sabbothau; ac eto y mae bob amser yn *respectable* ei ymddangosiad a'i ymddygiad. Beth ydych chwi yn ei ddyweyd, Mr. Pugh? yr ydych yn siarad cryn lawer â chwi eich hunan yn y fan yna. Byddaf fi bob amser yn hoffi cael barn dyn er na fydd yn swyddog, fel y mae Mr. Bevan yn gwybod.'

"'Y meddwl i ydi,' ebe Mr. Pugh, 'y dyle dyn i ddechre gael digon o fwyd.'

"'Mae genyf ofn, Mr. Pugh,' ebe Mr. Smart, 'eich bod chwi yn dipyn o *epicurean*.'

"'Picuwriwch chwi fel y fynoch,' ebe Mr. Pugh, 'mae yn rhaid i ddyn gael digon o fwyd. Weles i rioed ddaioni o neb, na neb fedre neyd ei ôl mewn byd nac eglwys, os na chae o ddigon i fwyta.'

"'Purion,' ebe Mr. Smart, 'ni bydd llawer o berygl i Mr. Rees fod yn ol am ymborth tra bydd Mr. Pugh yn y Dreflan. Ond dyma oeddwn i yn ei ddyweyd, ei fod o'r pwys mwyaf i weinidog yr efengyl feddu *appearance*, onidê y mae yn sicr o golli y parch sydd ddyledus iddo. Yr wyf yn adnabod llawer o'n gweinidogion goreu nad ydynt yn cael y parch a haeddant, am nad ydynt yn cadw i fyny *appearance*.'

"'Mr. Rees,' ebe Mr. Pugh, 'mae yn rhaid i ni wneyd ein *disappearance*. Esgusodwch ni, frodyr; yr ydym eisio rhoi tro i edrach am Benjamin Prŷs.'

"'Yr ydych yn gwneyd yn dda, Mr. Pugh,' ebe Mr. Smart; 'nid oes dim gwell nag i'r bugail ymgydnabyddu âg opiniynau y swyddogion yn gyntaf oll. Pe buasai amser yn caniatâu, Mr. Rees, buasai yn dda genyf i Mr. Bevan gael cyfleusdra i adrodd wrthych ei olygiadau; ond fel y mae wedi dygwydd, yr wyf fi wedi cymeryd yr amser i gyd agos i mi fy hun. Mae Mr. Bevan a minnau fel *men of business* yn edrych ar bethau o wahanol safle i chwi y bugeiliaid; ac yr ydym wedi cael pob profion fod *appearance* gyda chrefydd, yn gystal â masnach, yn myned ymhell. Cofiwch yr arwyddair: *Appearance, appearance*.'

"Diolchais iddo am ei gynghorion, a hwyliodd Mr. Pugh a minnau i ymweled â'r hen frawd o'r tŷ pobtŷ; ac addawodd Mr. Pugh i mi ar y ffordd y cawn rywbeth yno heblaw *appearance;* a dywedodd y gwir. Ond mi welaf ei bod yn myned yn hwyr, a thithau yn dechreu anesmwytho; felly gadawaf hanes fy ymweliad â Benjamin Prŷs hyd rywdro eto."

## PENNOD XIII.

### O'R CARTREFLE AT WELY ANGEU.

YR oedd Noah Rees wedi bod rai wythnosau yn y Dreflan, ac wedi defnyddio yr amser hwnw gan mwyaf i ymgydnabyddu â'r eglwys a'r gynnulleidfa, ymweled â'r tlodion a'r cleifion, sefydlu cyfarfod darllen, ac yn y blaen; a rhwng pobpeth, nid oedd efe ar un cyfrif wedi bod yn segur; ac fel ysgub newydd yr oedd yn cael gair da gan bawb. Dywedid fod hyd yn nôd Mr. Jeremiah Jenkins wedi cyfaddef wrth un o aelodau yr eglwys y gallai y bugail, wedi'r cwbl, wneyd rhyw gymaint o ddaioni. Yr oedd Noah Rees ei hun yn teimlo yn lled ddedwydd yn ei waith, ac wedi cael gwaredigaeth i raddau mawr oddiwrth y pryder oedd ymron â'i lethu ar ei ddyfodiad cyntaf atom.

Yr unig beth ag oedd yn achosi anesmwythder i'w feddwl oedd, ei fod yn teimlo fod ei holl ysgogiadau rywfodd yn cael eu llywodraethu gan y gŵr da hwnw Mr. Pugh, yr hwn nad ydoedd yn flaenor. Os byddai eisieu cynghor neu gyfarwyddyd ynglŷn â'r peth yma neu y peth arall, rhedai ei feddwl yn naturiol nid at Mr. Smart, nac at Mr. Bevan, ond at Mr. Pugh. Pa fodd yr oedd hyn yn bod nis gwyddai; a llawer gwaith y ceisiodd ymryddhâu oddiwrth y dylanwad a'r swyn a feddai yr hen foneddwr arno, oddiar ofn i'w cyfeillgarwch mawr greu eiddigedd yn y swyddogion. Ond po fwyaf y ceisiai efe ymryddhâu, tynaf yn y byd y teimlai rwymau y gyfaredd am dano. Soniai Noah am hyn wrthyf pan yr oedd ef a minnau yn cyflymu trwy y gwynt a'r gwlaw un noswaith tua'r Cartrefle. Awgrymais wrtho, mewn dull chwarëus, mai nid yn Mr. Pugh, o bosibl, yr oedd y swyn, ond yn rhywun oedd yn berthynas led agos iddo. O herwydd ein bod yn cerdded fraich am fraich, pan wnaethum y sylw hwn wrtho, teimlais ysgytiad yn myned trwy ei gorff;

ac er fod y noswaith yn dywell, yr oeddwn yn ymwybodol fod ei wyneb gonest yn edrych yn dramgwyddedig arnaf, tra y protestiai ei fod yn berffaith rydd oddiwrth y dylanwad y cyfeiriais ato. Gan nad oedd y pwnc yn hyfryd i'w deimlad, ni chyfeiriais ato drachefn; ac ni chyfnewidiwyd llawer o eiriau rhyngom nes i ni gyrhaedd y Cartrefle.

Derbyniwyd ni gan y teulu caredig fel pe buasent heb ein gweled er ys blwyddyn. Eisteddai Mrs. Pugh mewn cader esmwyth. ar un ochr i'r tân, a Mr. Pugh, gan ysmocio o bibell wen hir, a chan estyn allan ei goesau mewn dull hapus, a eisteddai yr ochr arall. Yr oedd ei ben moel yn dysgleirio fel gwydr, a'r olwg arno yn awgrymu i mi ddyn oedd ar delerau da â'i gydwybod, ac yn benderfynol o wneyd y goreu o'r byd drwg presennol Yr oedd y ddau yn gwrando ar Miss Pugh yn darllen iddynt, yr hon càn gynted ag yr agorwyd y drws i ni i ddyfod i mewn, a gauodd y llyfr. Gan nad pa mor fer a fyddo y siwrnai, un o'r mynydau mwyaf dedwydd yn mywyd dyn, onidê, ydyw yr adeg y bydd yn cau y drws ar ddannedd y gwlaw a'r gwynt ystormus, ac yn myned i ystafell gynhes a chlyd, yn enwedig os bydd yno galonau cynhes i'w dderbyn. Er nad oedd y pellder o letty Noah Rees i'r Cartrefle ond bychan, yr oedd yn ddigon o hyd i'n galluogi i fwynhâu y teimlad hwn yn ei helaethrwydd, a'r croesaw didderbyn-wyneb a gawsom. Ond po fwyaf yr oeddym ni yn ei fwynhâu o gysuron yr ystafell a'r cwmni, mwyaf yn y byd yr ymddangosai fod yr ystorm—oblegid yr oedd yn ystorm mewn gwirionedd erbyn hyn—yn cenfigenu wrthym. Yr oedd y gwlaw yn dyfod i lawr fel diluw, ac yn curo yn ddiarbed yn erbyn y ffenestr oedd yn gwynebu yr ardd. Ymgenglai y gwynt nerthol am gonglau y tŷ, fel pe buasai yn benderfynol o'i dynu i fyny o'i sylfeini; ac wedi methu yn ei gais, elai ymaith dan ruo yn rwgnachlyd a siomedig i ddychwelyd drachefn gyda mwy o nerth a phenderfyniad. Eilwaith ac eilwaith y ceisiai daflu y tŷ i lawr, ac eilwaith ac eilwaith yr elai ymaith yn ddigofus i gasglu adgyfnerthion.

Ymddangosai unwaith fod y simdde ac yntau yn ngyddfau eu gilydd—y gwynt am ddyfod i mewn, a'r simdde am ei gadw allan. Wedi methu gyda'r simdde, ymosodai ar y drws a'r ffenestr, ac, fel y Sodomiaid gyda'r angylion, gwaeddai trwy dwll y clo arnom i ddyfod allan iddo gael ein lladd; ond yr oeddym ni yn ddigon diogel yn llaw ein Lot gyfiawn. Nid oedd eisieu i'r teulu ein perswadio i barhâu ein harosiad, oblegid prin y buasai un o honom yn dychymygu am droi allan nes i'r ystorm fyned drosodd.

Heblaw fod fy nghyfaill Noah wedi ei gymeryd i fyny gan yr ymddyddan oedd yn myned ymlaen rhyngddo ef â Mrs. a Miss Pugh, yr oedd ei gydnabyddiaeth â Mr. Pugh a'r teulu mor ddiweddar ac anmherffaith fel na ddarfu iddo, yr wyf yn sicr, sylwi fod wyneb yr hen foneddwr yn gwisgo gwedd wahanol y noswaith hon i'r hyn a arferai fod. Er ei fod fel y dywedwyd, ar yr olwg gyntaf arno, yn ddarlun o ddyn perffaith hapus, nid allwn beidio meddwl ei fod yn gwisgo ei wenau i guddio y tristwch a'r gofid dwfn oedd yn llechu tu cefn i'w sirioldeb ymddangosiadol. Weithiau byddai yn anghofio cadw gwyliadwriaeth ar ei wyneb, ac yn edrych yn syn ac absennol ei feddwl. Dro arall chwarddai yn uchel ar ryw sylw a wneid ar y pryd. Ei ofal mawr oedd cadw oddiwrth Mrs. a Miss Pugh ei wir deimladau. Gwelais ef fwy nag unwaith, pan feddylíai nad oedd neb yn sylwi arno, yn syllu yn fyfyrgar ar y darlun oedd uwch ben y lle tân, at yr hwn y cyfeiriwyd mewn pennod flaenorol. Yr oeddwn yn sicr ymha le yr oedd meddyliau Mr. Pugh y noson hon, ac yr oeddwn yn sicr fod yno un arall yn gwybod; oblegid nid oedd dau fynyd nesaf at eu gilydd yn myned heibio heb ei bod yn cyfeirio ei llygaid yn bryderus ato, ac yn defnyddio pob mantais i ennill ei sylw, gan ofyn yn feunyddiol, "'Nhad, be dach chi'n feddwl? &c." Oedd, yr oedd ei meddwl bywiog a threiddgar yn gwybod yn well na mi ymha le yr oedd ei fyfyrdodau. Clywai ef yr ystorm yn dywedyd rhywbeth gwahanol i'r hyn a ddywedai wrthym ni. Rhedai ei

ddychymygion ef ar gefn yr ystormydd dros foroedd geirwon cythryblus, lle y gwelai rywun anwyl a hoff gan ei enaid ar lestr fregus yn ymladd yn ddewr â'r elfenau gwallgof a chynddeiriog. Deonglai ef udiadau cwynfanus a thorcalonus y gwynt fel yn cario llais rhywun yn gwaeddi, "Help! help!" ac heb gynnorthwywr. Y llencyn iraidd, gwyneb-agored, canwyll ei lygad a chanolbwynt ei obeithion goreu un tro, ar yr hwn yr arferai edrych gydag edmygedd pan gariai ei lyfrau dan ei gesail i'r ysgol rammadegol,—a welai yn awr yn ei ddychymyg yn suddo i ddyfrllyd fedd, yn nghanol crechwen wawdus y dymhestl. Ar adegau megys y noswaith hon, byddai golygfa ar ol golygfa yn myned drwy feddwl Mr. Pugh. Weithiau byddai yn portreadu y gwrthddrych yr oedd newydd ei ganfod yn suddo yn y dyfnder mawr, yn grwydryn tlawd, diymgeledd, yn nghanol rhyw ddinas boblog a phellenig; brydiau eraill gwelai ef yn nghanol anialwch unig a disathr, wedi colli ei lwybr, a dim ond rhuadau milod anwar a rheibus i'w clywed o'i gwmpas. Dychymygion oeddynt, mae yn wir, ond dychymygion a achosent gymaint o ofid iddo ef ymron â phe buasent yn ffeithiau. I un oedd yn gwybod ychydig o hanes y teulu. nid oedd mwy o anhawsder darllen wyneb Mr. Pugh y noswaith hon na darllen llyfr.

Yr oeddym wedi bod oddeutu dwy awr yn y Cartrefle, gallwn feddwl, pan ddechreuodd yr ystorm liniaru, ac yr ymddangosai ei bod wedi gwario ei hadnoddau. Fel yr oedd y gwynt yn myned yn wanach ac ymhellach oddiwrthym, yr oedd wyneb ein hen gyfaill yn llacio ac yn adfeddiannu ei naturioldeb arferol. Eisteddai Mr. Pugh â'i gefn at y ffenestr, ac eisteddwn innau ymron ar ei gyfer. Gan fod y ffenestr yn gwynebu yr ardd, fel y sylwyd, a chan nad oedd na ffordd na llwybr yn myned heibio iddi, nid ystyrid yn anghenrheidiol dynu y gorchudd drosti wedi goleuo yr ystafell. Yr oeddwn ar fedr galw sylw fy nghyfaill Noah fod yn amser i mi hwylio tua chartref, pryd y dygwyddodd i mi edrych yn nghyfeiriad y ffenestr, ac y gwelais, neu o leiaf y dychymygais weled

wyneb dyn yn glòs ar y gwydr. Yr oeddwn yn sicr fy mod yn adnabod y wyneb, pa un bynag ai dychymygu ai peidio yr oeddwn. Pa hyd y buasai yn edrych trwy y ffenestr nis gwyddwn; ond y foment yr edrychais i arno, diflanodd fel ysbryd, a chollais ef yn y tywyllwch. Cynhyrfwyd fi yn ddirfawr, ond yr oedd yn dda genyf nad oedd neb yn sylwi arnaf.

Cyn i mi allu dyweyd gair, curwyd drws yr ystafell. Teimlwn fy nghalon yn fy ngwddf pan waeddodd Mr. Pugh, "Dowch i mewn." Yr oeddwn yn edrych yn bryderus tua'r drws pan wnaeth Jim ei ymddangosiad. Pan welais ef yn edrych mor welw a dychrynedig, penderfynais yn fy meddwl nad oeddwn wedi cael fy nhwyllo gan fy nychymyg. Cododd Jim ei fys ar Mr. Pugh, heb yngan gair. Yr oeddwn erbyn hyn yn sicr fy mod yn iawn. Ond pa faint oedd fy siomedigaeth pan glywais Jim yn dyweyd wrth Mr. Pugh, gan hanner tagu, fod ei fam "*just* a marw, ac isio gweld y 'gethwr." Ofnwn hysbysu yr hyn a welswn, rhag mai dychymyg ydoedd. Pan ddechreuodd Mr. Pugh holi Jim, torodd yr hogyn i wylo allan yn hidl, ac nis gallai ddyweyd un gair; yn unig edrychai yn ymbilgar ar Noah, fel pe buasai bywyd ei fam yn dibynu arno. Yr oedd Noah yn barod i gychwyn càn gynted ag y deallodd beth oedd neges Jim. Daeth Mr. Pugh i'n danfon at y drws; a phan oedd wedi ysgwyd llaw â ni, ac ar fedr cau y drws, sylwodd fod Jim yn edrych yn bryderus i'w wyneb, ac yn cydio yn dŷn yn labet ei gôb. Yr oedd hyny yn ddigon. Rhoddodd Mr. Pugh ei het am ei ben, a'i gôb uchaf am dano, a daeth gyda ni. Rhedai Jim o'n blaenau, fel y bydd ci yn gwneyd pan y bydd yn cael myned allan gyda'i feistr; yna safai nes deuem o hyd iddo, ac ymaith âg ef drachefn am encyd; ac os gwelai efe ni yn lled hir heb ddyfod i'r golwg, deuai i'n cyfarfod, a phan fyddai o fewn ychydig latheni i ni, ail gychwynai. Yr oeddwn wedi fy nghythryblu gymaint gan yr hyn a welswn, fel nad allwn feddwl am ddim arall ymron. Er ei bod yn noswaith lled dywyll, nis gallwn beidio edrych i bob

congl ac i lawr pob heol yr oeddem yn myned heibio iddi, gan ddysgwyl bob mynyd weled yr un gwrthddrych yn troi i fyny; ond yr oedd y cwbl yn ofer, ac yr oeddwn bron a chredu mai lledrith o gread fy nychymyg oedd y cyfan.

Er fy mod yn anewyllysgar iawn, bu raid i mi fyned gyda Mr. Pugh a Noah i dŷ Ismael Price, tad Jim. Yr wyf eisoes, mewn pennod flaenorol, wedi rhoddi desgrifiad lled helaeth o "Fuarth Jenkins." Nid cysurus o gwbl ydoedd teimlo ein ffordd i'r fath le, ac ar y fath noswaith. Gwyddwn yn dda oddiwrth ddystawrwydd Mr. Pugh fod arno ofn mawr; ac nid heb achos, oblegid yn y Buarth hwn yr oedd y cymeriadau gwaethaf fel brodorion ac estroniaid yn preswylio. Nid ydoedd y gwlaw trwm wedi gwella dim ar yr arogl a'n cyfarfu oddiar yr amser y buasai Mr. Pugh a minnau i lawr y Buarth hwn o'r blaen pan yn ceisio rhai i'r Ysgol Sul. Yr oedd Jim yn ein harwain, a minnau yn ei ddilyn, a Mr. Pugh, gan gydio yn glòs yn Noah, yn cerdded yn lled agos at ein sodlau. Cerddasai y nos ymhell, a meddyliais unwaith fod pawb o'r trigolion wedi myned i orphwyso, hyd nes y daethom yn lled agos i waelod y Buarth, pryd y clywsom swn cwmni llawen. Deuai y swn allan o dŷ oedd â'i ddrws yn llydan agored. Yr oedd yr ystafell oedd yn y golwg wedi ei goleuo yn brâf, a gwelid pedwar o ddynion, mileinig yr olwg, yn eistedd o gwmpas bwrdd crwn, ar yr hwn yr oedd *jug* mawr ac amryw wydrau. Cymysgai a throai un o'r dynion swp o docynau, tebyg o ran maint i docynau cyngherdd, ond eu bod yn lliwiedig, a throsai hwynt gyda chyflymdra anarferol. Yn eistedd wrth ochr y pentan â phibell fer yn ei safn, canfyddais y wraig aflawen, lygadgroes, a gyfarfu Mr. Pugh a minnau yn ein hymweliad cyntaf â'r Buarth. Yn ngoleuni dysglaer yr ystafell, ymddangosai ei chroen càn ddued a chàn futred, nes peri i mi feddwl na fu drws y tŷ yn agored erioed o'r blaen, a'i bod wedi arfer myned a dyfod trwy y simdde. Taerai y fudrogen hon

ynt, fel y dygwyddodd y peth fod, yn meddu chwaeth ac opiniynau lled neillduol; canys tystient yn bendant wrth y paentiwr nad oeddynt yn cael unrhyw bleser yn y ffaith fod eu tai yn wagach o amryw declynau wedi i'w weithwyr ef fod yn talu ymweliad â hwynt. Dygwyddodd fod y paentiwr yn union o'r un meddwl â'i gwsmeriaid; a chyda thipyn o hunanymwadiad er mwyn egwyddor, penderfynodd yntau, fel y masnachwr o'i flaen, amddifadu ei hun o wasanaeth gwerthfawr Jeremiah.

Yn gymaint ag i'r ddau brawf a enwyd droi allan yn fethiant, ac hefyd fod Jeremiah yn dal yn ddi-ildio yn ei benderfyniad i beidio myned i'r gwaith glo, ni farnodd ei dad yn briodol wneyd prawf arall i ddwyn ei fab i fyny yn grefftwr; a gadawodd iddo gymeryd ei ffordd o "sincio 'i siawns," fel y dywedai. Annogwyd y "sheltrwr" gan ei gyfeillion i anfon ei fab i ysgol fawr yn ymyl Llundain, i ba le yr anfonid bechgyn yn gyffredin a fyddent wedi dangos talent neillduol. Enw yr ysgol, os wyf yn cofio yn dda, oedd "*The Reformatory.*" Ond ni fynai tad Jeremiah wrando ar y cynghorion, am y rheswm dybygid ei fod yn rhy hoff o'r bachgen i ddygymmod â'r meddwl o ymadael âg ef, neu ynte ei fod yn ystyried fod y dalent yr oedd wedi ei harddangos eisoes wedi ei dadblygu i raddau gormodol, heb ei anfon at rai o gyffelyb feddwl.

Aeth rhai blynyddau heibio heb i Jeremiah ymaflyd mewn unrhyw orchwyl neillduol; a thybiai rhai mai yn y cyfnod hwnw y dechreuodd blew dyfu ar ei ddwylaw; ond mynai eraill, ac yn eu plith y masnachwr a'r paentiwr y cyfeiriwyd atynt yn barod, fod arwyddion o honynt i'w canfod yn llawer cynnarach. Tra yr ydoedd Jeremiah eto yn llanc, rhoddid credyd iddo, hyd yn nod gan ei elynion, am gyfrwysdra di-ben-draw, yr hyn a barai i rai gysylltu â'i gymeriad enw y creadur deallgar hwnw a elwir y llwynog. Yr oedd yn meddu gallu neillduol i ddyfod o hyd i gyfrinach a hanes ei gymydogion, ac ar yr un pryd i gadw ei hanes ei hun yn berffaith ddirgelwch i bawb. Yr oedd ei fuchedd yn hollol ddichlynaidd o ran dim a ellid ei brofi i'r gwrthwyneb; ac er nad oedd wedi cymeryd yr

ardystiad dirwestol, ni byddai byth yn cyffwrdd â'r ddiod feddwol. Byddai ganddo bob amser gyflawnder o arian yn ei logell; ac nid oedd ganddo wrthwynebiad i bobl wybod hyny, càn belled ag na byddent eisieu eu benthyca. Ar brydiau elai oddicartref am ddeuddydd neu dri; ond ni wyddai neb i ba le nac i ba beth. Wedi iddo dyfu i fyny i oed a synwyr, cafwyd allan gan rywrai y byddai Jeremiah yn prynu a gwerthu pethau ag y tybiai y gallai wneyd arian oddiwrthynt; ond nid oedd hyny yn rhoddi cyfrif digonol am y modd yr oedd wedi ac yn gallu cynnal ei hun. Pan ofynid i'w dad am esboniad ar amgylchiadau ac arferion Jeremiah, atebai yr hen ŵr yn ddigon gonest na wyddai efe ddim yn ei gylch. Tybiai rhai ei fod yn *gamblo*, a'i fod wedi bod yn lwcus; eraill a gredent ei fod wedi gwerthu ei hunan i hen ŵr boneddig, yr hwn y mae fy narllenwyr i gyd yn gwybod am dano, a'r hwn hefyd sydd yn awr yn fyw, ac yn debyg o fyw wedi i mi a hwythau ymadael â'r fuchedd hon, ac am hyny ni wnaf ei enwi, gan nad ydwyf yn dymuno bod yn rhy bersonol. Yr oedd rhyw ychydig o bersonau yn credu yn ddiysgog yn y dybiaeth olaf a enwyd, tra y taerai eraill nad oedd hyny yn bosibl, gan fod Jeremiah yn wrandäwr cyson yn yr Hen Gapel, ac nad oedd yr hen foneddwr y cyfeiriwyd ato yn orhoff o'r efengyl. a dyweyd y lleiaf. Ychydig ydoedd nifer cyfeillion Jeremiah; ond gellid priodoli hyny i ragfarn a chenfigen, am ei fod ef yn meddu neillduolion nad allai y lliaws gydymdeimlo â hwynt na chyfranogi o honynt.

Nid yn hawdd y gellid darlunio y syndod a amlygwyd gan aelodau eglwys yr Hen Gapel un nos Sabboth, pan arosodd Jeremiah yn y seiat; nid yn gymaint am fod ei fuchedd yn anghyson â phroffes grefyddol, eithr am y tybid yn gyffredinol fod crefydd yn beth ag oedd allan o'i lwybr, ac yn rhywbeth hefyd nad oedd efe yn teimlo yr angenrheidrwydd lleiaf am dani. Yr oedd Mr. Williams y gweinidog a Benjamin Prŷs y diacon, dipyn yn hen ffasiwn yn eu golygiadau crefyddol, ac yn arddangos gofid am na buasai mwy o arwyddion edifeirwch yn Jeremiah wrth

gynnyg ei hun yn aelod eglwysig. Ond nid oedd ef ei hun yn gweled fod ynddo ddim i edifarhâu o'i blegid; a synai braidd fod y frawdoliaeth yn dangos càn lleied o lawenydd am ei waith yn cynnyg ei hun fel ychwanegiad at addurniadau yr eglwys. Nid llai oedd y syndod yn lled fuan wedi hyn pan ledaenwyd y gair fod Meistr Jeremiah yn bwriadu cymeryd ato ei hun wraig, a hono yn neb amgen na Miss Jones, yr hon a gadwai *shop* barchus ar gongl Stryt y Capel. Yr oedd Miss Jones yn aelod ffyddlawn yn yr Hen Gapel; a chanmolid hi gan y rhai a'i hadwaenai oreu fel un oedd yn meddu mwy o ras nag o brydferthwch, a mwy o gyfoeth nag o bob un o'r ddau. Yn ngolwg Jeremiah, yr oedd y peth olaf yn gwneyd i fyny am bob diffyg; a buasai ef yn eithaf boddlawn i gymeryd Miss Jones yn wraig pe buasai yn amddifad o bob rhinwedd arall.

Wedi uniad Mr. Jenkins â chyfoeth Miss Jones,—oblegid dyna ydoedd nodwedd mwyaf arbenig y briodas, gwisgodd ei fywyd wedd fwy cyffredin, a chyflawnwyd breuddwyd ei fachgendod, sef cael bod yn siopwr. Ymroddodd i fasnach—i brynu a gwerthu, a gwneyd bargenion; ac nid oedd odid ddim prynadwy na gwerthadwy nad oedd gan Jeremiah law ynddo. Yr unig gŵyn a ddygid yn ei erbyn fel masnachwr oedd ei fod braidd yn galed fel gwerthwr, a braidd yn hwyrfrydig fel talwr. Byddai rhywrai yn camgymeryd yr hwyrfrydigrwydd hwn o'i eiddo am anonestrwydd, ac yn ei erlyn yn Llys y Mân-ddyledion; ond byddai Jeremiah, fel rheol, yn dangos ei fod yn ddyn gonest trwy dalu y ddyled ychydig oriau cyn i'r Llys gyfarfod.

Gyda golwg ar ei fywyd priodasol, ni oddef gofod i mi fanylu. Ymddengys oddiwrth dystiolaeth y rhai oeddynt ei gymydogion nesaf ei fod wedi cymeryd cryn drafferth gyda Mrs. Jenkins, i'w dwyn i ystâd o berffeithrwydd. I gwblhâu hyn, yr oedd Jeremiah wedi gorfod arfer moddion lled lymion; ond ystyriai ef fod y dyben yn eu cyfiawnhâu. Yn ystod ei bywyd morwynol, edrychid ar Mrs. Jenkins fel merch ieuanc ddiniwed, ddystaw, a rhinwedd-

ol; a pherchid hi gan bawb. Pa fodd bynag, ofnai y cymydogion y cyfeiriwyd atynt y gellid casglu oddiwrth ei llefau, a glywid ar rai adegau, fod Jeremiah yn gorfod ei cheryddu; ond ar yr un pryd tystient yn ei ffafr ef na byddai yn defnyddio moddion llymach na'i ddyrnau. Ni chlywid fod Mrs. Jenkins byth yn cwyno wrth neb o'i chymydogesau, am y credai, dybygid, fod y driniaeth a dderbyniai oddiar law, neu yn hytrach oddiar ddyrnau, ei gŵr yn anghenrheidiol er ei lles. Yr oedd lle i feddwl, er hyn, nad oedd bywyd priodasol yn dygymmod â hi yn dda; canys tystiolaeth y rhai a'i hadwaenai oreu oedd ei bod "wedi tori'n arw," ac yn edrych yn ddiysbryd a theneu. Ar yr un pryd, ymddangosai fod gan Mrs. Jenkins barch i'w gŵr; oblegid byddai yn ei ofni yn fawr, ac fel pe buasai ar ei llw pa eiriau a ddefnyddiai wrth siarad âg ef; a gwelwyd hi fwy nag unwaith yn gwelwi fel calchen pan ddygwyddai Jeremiah ddyfod yn sydyn i'r tŷ, a'i chael wedi gwahodd rhai o'i chymydogesau i'r parlwr.

Erbyn i mi ystyried, mae yn rhaid fod rhyw ddiffyg pwysig yn perthyn i Mrs. Jenkins; oblegid os byddai Jeremiah wedi gwneyd bargen ddrwg, neu ynte wedi cael ei siomi, neu ei roi allan o'r ffordd gan rywun, ar Mrs. Jenkins y byddai y bai bob amser, a hi fyddai raid ddyoddef; a chan y byddai yn dyoddef yn ddystaw, y casgliad naturiol ydyw ei bod yn euog. Gwir na fyddai Mrs. Jenkins, druan, yn gallu gweled fod y cysylltiad lleiaf rhyngddi hi â'r dygwyddiadau anffortunus hyn; ond byddai Mr. Jenkins yn ei weled, ac yr oedd hyny yn ddigon. Wedi bod yn briod am rai blynyddau, rhoddodd Mrs. Jenkins enedigaeth i fab bychan, yr hwn amgylchiad oedd yn groes iawn i feddwl Mr. Jenkins; a thystiodd yn nghlywedigaeth yr etifedd y dydd y ganwyd ef na fyddai iddo ef fyned i lawer o gôst gydag ef. Ond ni chymerodd ei gyntafanedig sylw yn y byd o'i eiriau, yr hwn ymddygiad a liosogodd efe yn ddiderfyn mewn blynyddoedd dilynol. Pan nad oedd ei etifedd ond diwrnod oed, prophwydodd Jeremiah gyda rhagwelediad gwyrthiòl ymron, mai bachgen drwg ac anufudd a fyddai, ac mai wrth ddrws Mrs.

Jenkins yr oedd y bai i gyd yn gorwedd. Gwiriwyd ei brophwydoliaeth i'r llythyren; oblegid, yn ol tystiolaeth Mr. Jenkins ei hun ymhen blynyddau ar ol hyn, ni fu hogyn fwy anhywaeth, dirieidus, ac anufudd, yn gwisgo esgid erioed. Nid oedd y bachgen yn gwella wrth hen eiddio; eithr ymgysurai ei dad mai nid diffyg dysgyblaeth oedd yr achos o hyny, ac mai Mrs. Jenkins oedd yn gyfrifol am ei ddrygioni. Dygai y bachgen ei hunan dystiolaeth i wirionedd y peth cyntaf; a dywedai yn fynych wrth ei gymdeithion, pe buasai ganddo gynifer o geiniogau ag o wiail a dorwyd ar ei gefn y buasai yn gyfoethog iawn.

Perthynai un peth i'r bachgen na fedrodd ei dad erioed ei faddeu iddo, sef ei fod yn caru ei fam yn angerddol ac yn ei gasâu yntau â chas perffaith. Galwyd y bachgen yn Tom, am mai Thomas oedd enw ei daid o ochr ei fam; a mynai ei dad fod a wnelo ei enw gryn lawer â'i ddrygioni; ond bai Mrs. Jenkins oedd hyny. Yr unig fai a welai ei fam yn Tom oedd ei fod yn rhy dueddol o alw ei dad yn "hen law" ac yn "*governor.*" Oni buasai am y diffyg hwn, buasai yn berffaith yn ei golwg. Yr oedd Mrs. Jenkins yn ei gwiriondeb yn hoff iawn o Tom; a channoedd o weithiau y dywedodd hi wrtho, gan ei gofleidio, "Oni buasai am danat ti, Tom bach, buaswn wedi tori fy nghalon er ys blynyddau." Ffaith nad allodd Jeremiah Jenkins erioed roddi cyfrif am dani oedd, fod Tom, er cynddrwg ydoedd, yn cael ei hoffi yn fawr gan ei denantiaid; ac anaml y gallai ymddiried y gorchwyl iddo o hel y rhenti, am ei fod yn deall yr arferai Tom eistedd gyda Siân Jones i siarad am grefydd, a chydag Ismael Price i siarad am *politics.* Ymgysurai ei dad, pa fodd bynag, nad oedd hyn ond peth i'w ddysgwyl oddiwrth bobl anwybodus; ond yr oedd gwaith un o safle Mr. Pugh yn dyweyd yn ei wyneb fod Tom yn werth cant o hono ef, Jeremiah, yn beth nad allai byth ei anghofio.

Yr oedd gan Mr. Jenkins was, yr hwn oedd yn weithiwr medrus, ond na chyfrifid ef gan bawb yn ben llathen.

Yr oedd y gwas hwn wedi gweithio mor galed a diwyd nes y tybid fod ei gymmalau wedi lleihâu yn fawr o ran nifer er pan ydoedd yn ngwasanaeth Mr. Jenkins. Gan na feddai y gwas ond syniad anmherffaith am rifyddiaeth, nac, yn wir, am ddim arall oddigerth ei orchwyl, byddai Jeremiah yn garedig dros ben tuag ato, ac yn ofalus iawn o hono. Mike oedd enw y gwas, Gwyddel o genedl; ond o herwydd ei fod wedi ei eni a'i fagu yn y Dreflan, gallai siarad Cymraeg yn rhwydd. Fel engraifft o garedigrwydd Jeremiah tuag ato, gellir nodi ei fod wedi cadw a chymeryd gofal o'i gyflog am lawer o flynyddau, heb roddi dim iddo ond oedd wir anhebgorol er ei les, megys *suit* o *corduroy* bob dwy flynedd, a thair ceiniog ar noswaith "*wakes*," gyda gorchymyn caeth iddo beidio eu gwario am oferedd. Engaifft arall o garedigrwydd Jenkins at Mike ydyw na byddai byth yn anghofio chwaeth neillduol ei gydgenedl o'r Ynys Werdd; eithr caniatâi iddo fyw ymron yn hollol o'r naill Nadolig i'r llall ar bytatws a phenwaig. Gwir y byddai Mike yn rhoddi awgrym i'w feistr ar rai adegau, megys drannoeth ar ol "*wakes*," am "*drop o' the cretur;*" ond, yn eithaf priodol, ni chymerai Mr. Jenkins arno ei glywed. Pan ofynid i Mike pa swm o arian oedd ganddo wedi ei adael gyda'i feistr, atebai nad oedd yn ddigon o ysgolaig i wybod, ond ei fod yn meddwl ei fod tua'r un faint a'r "*national dit.*"

Ond y mae yn rhaid i mi brysuro. Profedigaeth fawr bywyd Mr. Jenkins oedd hyn: nid oedd byd nac eglwys yn cydnabod nac yn gwerthfawrogi y talentau a'r nodweddion gwahaniaethol yr oedd ef ei hun yn ymwybodol ei fod yn eu meddu. Yr oedd y ffaith na elwid arno un amser i eistedd ar unrhyw fwrdd na phwyllgor, nac i lenwi unrhyw swydd gyhoeddus o ymddiried yn y Dreflan, yn dangos yn ddigon eglur, yn ol ei feddwl ef, ac yn ei orfodi i ddyfod i'r penderfyniad, mai ar Mrs. Jenkins yr oedd y bai. Yn y capel, yr oedd y diystyrwch a deflid arno yn fwy adgas fyth. Pan oeddid yn dewis blaenoriaid, ni chafodd gymaint a'i enwi gan un o'r aelodau; ac oni buasai ei fod weithiau yn myned i'r addoliad

yn lled brydlawn, ac yn myned i'r sedd fawr heb ei wahodd, ni chawsai gymaint ag arfer moddion yn gyhoeddus. Nis gallai Jeremiah esbonio hyn mewn modd yn y byd ond yn ei gysylltiad â Mrs. Jenkins. Ond er yr holl ddiystyrwch a deflid arno, ystyriai Jeremiah mai ei ddyledswydd oedd siarad yn gyhoeddus mor aml ag a allai yn y capel, i ddadlenu twyll a rhagrith, a chyhoeddi y gwirionedd yn ddifloesgni. Er na fynai yr eglwys ef yn flaenor, nid ystyriai ef fod ei rwymedigaeth yn llai i actio fel *detective*, a galw y swyddogion a'r aelodau i gyfrif fel y byddai amgylchiadau yn gofyn, a chymeryd ar ei ysgwyddau ei hun oruwchreolaeth purdeb ac ymddygiad da pawb yn ddïeithriad. Yn gymaint a'i fôd yn gwybod fod yn yr eglwys y fath ragfarn yn ei erbyn, byddai Jeremiah fel rheol yn achub y cyfleusdra i ddadlenu diffygion ei gydaelodau yn mhresennoldeb brodyr dyeithr, megys pan ddeuai pregethwr dyeithr i'r daith, neu pan ddeuai rhywun o'r newydd i'r seiat, neu ar ymweliad blynyddol â'r eglwys dros y Cyfarfod Misol; ac yn fynych iawn, pan feddyliai yr eglwys yn gyffredinol eu bod wedi cael seiat dda a bendithiol, byddai ychydig eiriau *awgrymiadol* oddiwrth Jeremiah ar y diwedd yn rhoi *damp* ar y cyfan. Y fath ydyw nerth gwirionedd, yn enwedig pan leferir ef gan un y mae ei fywyd yn ymylu ar berffeithrwydd!

Ond er yr holl ragoriaethau a berthynai i Jeremiah, cyfaddefai ei fod yn ystod ei fywyd wedi gwneyd rhai camgymeriadau. Un o'r rhai hyny oedd ei fod, tra yr oedd Mr. Williams, y diweddar weinidog, yn fyw, wedi ei hystyried yn fraint ac yn ddyledswydd i alw y gŵr parchedig hwnw i gyfrif rai ugeiniau o weithiau am ei ddiffygion, ei ddallbleidiaeth, a'i ddiffyg barn yn gyffredinol. Ond wedi i'r gŵr parchedig farw, yr oedd wedi newid ei feddwl am dano, ac yn synio mai ei ddyledswydd bellach oedd ei ddal i fyny o flaen y byw, yn enwedig o flaen y diaconiaid, a Noah Rees, fel siampl o berffeithrwydd. Syniadau uchel Jeremiah am Mr. Williams a barodd iddo yn benaf wrthwynebu hyd eithaf ei allu benderfyniad yr eglwys i alw Noah Rees i'w gwasanaethu fel bugail. Gwir

fod ganddo resymau eraill, pa rai a nodwyd genyf mewn pennod flaenorol. Yr oedd Noah Rees yn hysbys o ddaliadau Jeremiah cyn iddo ddyfod atom; ac yr oedd efe yn dysgwyl cael ei feirniadu a'i alw i gyfrif yn fynych; ac yn hyn ni siomwyd ef; eithr byddai Mr. Jenkins yn cymeryd trafferth i egluro mai lles y bugail a'r achos fyddai ganddo mewn golwg bob amser. Tua'r adeg y daeth Noah i'r Dreflan, yr oedd Tom Jenkins wedi dyfod i'w oed, ac yn llanc cryf a heinyf, ac hefyd wedi cyrhaedd pwynt uchaf ei anufudd-dod i'w barchus dad. Sibrydid mewn cylch bychan fod Mr. Jenkins, hynaf, wedi cael ar ei feddwl un diwrnod geryddu Mrs. Jenkins yn ol yr hen ddull, ac i Mr. Jenkins, ieuengaf, ddyweyd wrtho yn bendant na oddefai iddo wneyd hyny, ac i Mr. Jenkins, hynaf, ddyweyd y mynai wneyd, ac i Mr. Jenkins, ieuengaf, y pryd hyny roddi hergwd i Mr. Jenkins, hynaf, nes oedd ei wadnau i fyny, yr hwn ymddygiad oedd hollol anweddaidd. Daeth y ffaith rywfodd i glustiau Mr. Pugh, ac er na fynai efe i neb feddwl ei fod mewn modd yn y byd yn cymeradwyo ymddygiad Tom, gwahoddodd ef yn uniongyrchol i swpera i'r Cartefle.

Fe wêl pob darllenydd diduedd fod safle Mr. Jenkins yn y Dreflan yn esgusawd digonol am feithder y bennod hon ac unrhywiaeth ei thestun. Ond er mwyn iddo gael chware teg i ffurfio barn gywir am garitor Jeremiah, nodaf yn fyr syniadau amryw o bersonau oeddynt dipyn yn wahanol eu barn am dano; ac hwyrach fod gan y darllenydd fwy o ymddiried yn eu barn hwy nag yn eiddo yr ysgrifenydd:—

"Os bu yr ysbryd drwg yn preswylio yn rhywddyn yn ein hoes ni, Jeremiah Jenkins ydi hwnw—wired a mod yn y fan yma."—*Peter Pugh, Ysw.*

"Un o'r pethau sydd yn peri i mi hiraethu fwyaf am fyned i'r nefoedd ydyw na fydd yno neb tebyg i Jeremiah Jenkins."—*Benjamin Prys*

"Yr wyf bob amser yn dyweyd, fel y mae Mr. Bevan yn gwybod, mai un o ragoriaethau penaf Eglwys Loegr ydyw na chaniateir i rai cyffelyb i Jeremiah glebar ar bob amgylchiad."—*Mr. Smart.*

"How very ridiculous that Mr. Jenkins is, pa?—*Miss Smart.*

"Ceir cymeriadau cyffelyb i Mr. Jenkins ymron ymhob eglwys y mae ei nifer yn ddau cant a hanner."—*Mr. Bevan.*

"Bydaswn i yn lle Mr. Rees, mi faswn yn deyd wrth y *bobby* am yr hen Jenkins ene."—*Jim Price.*

"Pe buaswn yn barnu crefydd a chrefyddwyr oddiwrth esiampl y —— yna, ni roeswn fy nhroed o fewn i gapel byth."—*Ismael.*

"Yr oedd Enoch Jones yn wastad yn deyd mai un ôd oedd Jeremiah; a phwy oedd yn 'i adnabod o yn well nag Enoch Jones?"—*Mrs. Enoch Jones.*

"Gobeithio y caiff y creadur druan faddeuant."—*Siân Jones.*

"Mae genyf ofn fod clefyd Jeremiah yn anfeddyginiaethol."—*Dr. Ellis.*

Ni chwanegaf.

---

## PENNOD XIX.

### CRYNODEB.

ADWAENWN ddyn yr hwn a wnelai bobpeth ymron yn ei ffordd ei hun, a byddai y ffordd hono yn wahanol i ffyrdd pawb arall. Pan elai i gyrchu dwfr o'r ffynnon, yr hon oedd dipyn o ffordd oddiwrth ei breswylfod, cymerai amryw biserau gydag ef, ac wedi eu llenwi oll hyd yr ymylon, cariai un o honynt am oddeutu ugain llath, a gosodai ef yn ofalus ar lawr, ac elai i gyrchu un arall, ac wedi eu cael i gyd yn rhes, dechreuai eilwaith eu hebrwng yn nghyfeiriad ei breswylfod, nes eu cael oll o'r diwedd i'r man dymunol. Yn y bennod hon, ceisiaf finnau, mewn rhan, wneyd â'r cymeriadau y buwyd yn son am danynt, yr hyn a wnelai y brawd a grybwyllwyd â'r piserau Ac er nad allaf addaw llawer o ddifyrwch i'r darllenydd wrth eu gosod i gyd yn rhes uniongyrth, dichon y bydd hyny yn fantais i mi ail gychwyn i'w hebrwng bob yn un ac un at y terfyn, lle y byddaf yn ffarwelio â hwynt, yr hyn a raid ei wneyd yn lled fuan bellach.

Yn ystod blynyddoedd o afiechyd a gwendid, arferai Benjamin Prŷs gymeryd y dyddordeb mwyaf yn amgylchiadau eglwys yr Hen Gapel, hyd yn nôd pan nad allai fod yn bresennol. Ond yn ddiweddar yr oedd yn amlwg fod cylch ei fywyd yn myned yn gyfyngach bob dydd, ac eithaf ei bererindodau erbyn hyn oedd o'r gwely i'r gegin ac yn ol. Yr oedd yn amlwg hefyd, fel yr oedd ei lwybrau yn byrhâu, fod ei syniadau a'i gydymdeimladau yn ymëangu. Yn raddol dechreuodd golli dyddordeb yn amgylchiadau eglwys yr Hen Gapel fel y cyfryw; a phan elem i edrych am dano, anaml yn awr y gofynai pa faint oedd swm y casgliad, a phwy oedd i bregethu y sabboth dilynol; ond parhâi i ofyn a oedd rhywun o'r newydd wedi aros yn y seiat, ac ai onid oedd arwyddion am adfywiad ar grefydd. Os byddem yn ateb yn nacäol, gofidiai yn fawr; ac megys heb yn wybod iddo ei hun, dechreuai siarad am odidogrwydd y Gwaredwr, ac am y dyfodol dyeithr a gogoneddus sydd yn aros y credadyn, nes oeddym yn teimlo weithiau nad oedd genym hawl i siarad am ddim bydol yn ei bresennoldeb. Yr wyf yn cofio yn dda, pan oedd Mr. Pugh a minnau wedi myned i ymweled âg ef un noswaith, ei fod yn dechreu adrodd wrthym bennillion yr oedd efe newydd eu cyfansoddi.

"Nesu'r wyf bob nos i'r afon,
Afon angeu—eiriau oerion—
Ond 'r wy'n siŵr, y daw'r Gŵr
Fel y d'wedodd—'rioed ni thorodd
Ei gyhoeddiad yn y dŵr.

"Ond er hyn, mor syn y syniad
Ac ofnadwy gyfnewidiad—,"

pryd y daeth Becca Prys i'r ystafell, ac y dywedodd gyda thipyn o deimlad, "Benjamin, ydach ch'i wrthi hi eto hefo'r hen brydyddieth ene? Pwy 'dach chi'n meddwl sydd gan flas i wrando ar bethe fel ene o hyd o hyd? Ydi'r hen Williams, tybed, ddim wedi gneyd digon o hums sydd yn syffisiant i undyn byw, heb i ch'i fyn'd i foedro'ch pen hefo pethe felly? Yn wir, Mr. Pugh, mae

hwnyma wedi myn'd yn rhyfedd arw yn ddiweddar. Dydi o byth yn consarnio yn y pobty nac yn gofyn be' ydi pris y blawd, nac a ydw i'n gallu talu am dano ai peidio, ac ynte yn gwybod o'r gore nad ydw i'n dallt dim *counts*. Mae son am grefydd a'r byd arall yn burion yn 'u lle; ond dydi'r Brenin mawr ei hun, goelia i, ddim yn dysgwyl i ni son am danyn nhw o hyd o hyd; ai ydi o, Mr. Pugh?"

Amlwg ydoedd fod hir gynnefindra â'i afiechyd yn rhwystr i Becca ganfod fod ei phriod yn prysur nesâu i'r afon. Ac mor anhawdd oedd iddi hi, yr hon oedd yn anterth ei hiechyd, a'i chroen càn llyfned â phwys o ymenyn, a'i dillad yn ymddangos yn myned yn dynach, dynach, am dani bob dydd, sylweddoli syniadau a theimladau yr hen ddiacon crefyddol, yr hwn oedd yn ymwybodol fod yr "ofnadwy gyfnewidiad" wrth y drws? Trymaf o gwbl oedd yr ergyd iddi hi pan ddaeth, am nad oedd yn ei dysgwyl.

Yr oedd Walter Wynn wedi rhoi y goreu i geisio cerdded y nenfwd, gan nad oedd llawer o anghen am yr ymarferiad; oblegid anfynych yn awr y cynnelid cyfarfod amrywiaethol yn *garret* y *London House*. Yn ddiweddar daethai cyfnewidiad rhyfedd dros Aelod Jones. Nid oedd efe yn gweled fod llawer o ddaioni yn deillio wrth fynychu y cyfarfodydd wythnosol a gynnelid yn y capel. Yr oedd Aelod wedi dyfod i gysylltiad â newydd-ddyfodiad i'r Dreflan, yr hwn oedd ŵr talentog iawn, àc yn fardd o fri. Nid oedd dadl am dalent y gŵr dyeithr, oblegid gwisgai het uchel, a gwallt hirllaes, ac esgidiau oedd yn myned yn gyflym i'r cwn. Wedi cymdeithasu ychydig â'r gŵr hwn, anfynych y byddai Aelod yn cael pregethwr i'w foddio ar y Sabboth; a byddai yn dangos ei anfoddlonrwydd i bawb trwy gymeryd llyfr i'w ddarllen pan fyddai y pregethwr yn llefaru, neu ynte trwy roddi ei ben i lawr, neu edrych o'i gwmpas yn ddiystyrllyd. Byddai Aelod, druan, yn cael boddhâd mawr iddo ei hun yn y ffordd hon, trwy beri i bobl edrych arno, a gwneyd ei hun yn bregethwr-fesurydd, at yr hwn y coeliai fod pawb yn

edrych am gyfarwyddyd pa fodd i wrando a pha bris i'w roddi ar yr hyn a ddywedai y pregethwr. Dywedai Walter mai anfynych yr arosai Aelod yn y tŷ y nos, gan ei fod wedi ymuno â chlwb llênyddol, lle yr oedd ei bresennoldeb yn anghenrheidiol, ac i'r hwn le yr oedd Walter yn rhy ieuanc i gael derbyniad. Barddoniaeth oedd pwnc mawr efrydiaeth Aelod Jones erbyn hyn; ac nid oedd ganddo lawer o feddwl o neb os na fyddai yn fardd, neu o leiaf yn deall barddoniaeth. Yn gyffredin byddai yn lled hwyr arno yn dychwelyd i'r tŷ y nos; ac o herwydd ei fod yn gorfod myned i'r gwely heb ganwyll, sylwai Walter y byddai Aelod yn tripio yn fynych ar y grisiau, ac weithiau yn cael mawr drafferth i ddyfod o hyd i ddrws yr ystafell wely. Yr oedd ei gof hefyd yn gwaethygu, canys elai i'r gwely yn aml heb fyned ar ei liniau. Byddai arogl ddyeithr ac annymunol ar ei anadl ar adegau, yr hyn a barai i Walter ammheu rhywbeth yn ei gylch, ond ni feiddiai fynegu ei ofnau. Un noswaith, o gywreingarwch, dilynodd Walter Aelod Jones o hirbell; ac er ei syndod gwelodd ef yn myned i'r *White Horse*. Mewn gair, yr oedd Aelod Jones ar y llithrigfa.

Aeth misoedd heibio, ac er syndod i bawb, anfynych y clywid Jeremiah Jenkins yn agor ei enau yn y capel. Deuai i'r moddion yn gyson fel arferol; ond yr oedd naill ai wedi cael yr eglwys a'r bugail i'r sefyllfa berffaith hono y llafuriodd efe gymaint am dani, neu ynte yr oedd wedi anobeithio am eu diwygiad. Sibrydai rhywrai nad oedd ei amgylchiadau cystal ag y buont, a'i fod wedi colli llawer o arian ynglŷn â rhyw anturiaeth y cafodd ei dwyllo ynddi. Dywedai eraill na bu efe erioed mor gyfoethog âg y tybid ei fod, ac fod ei holl dai wedi eu gwystlo hyd eithaf eu gwerth. Pa wir bynag oedd yn hyn, yr oedd yn amlwg fod Jeremiah yn fwy difater am y byd, ac fod ei fasnach yn prysur lithro i ddwylaw Tom ei fab. Rhoddai y merched gyfrif gwahanol am y cyfnewidiad yn Jeremiah, a dywedent hwy mai Tom oedd wedi tori ei grib ef gartref, ac yn ei rwystro i roddi yr holl fai ar Mrs. Jenkins, ac ymddwyn ati yn ol yr hen

ddull. Yr oedd yn ffaith fod Mrs. Jenkins yn edrych yn llawer mwy calonog a siriol. Bid a fyno, ys dywed y Deheuwyr, daw y rheswm am y cyfnewidiad yn Jeremiah i'r amlwg fel yr eir ymlaen gyda'r hanes.

Daliai sefyllfa pethau yn Muarth Jenkins yn debyg i'r hyn y cyflëwyd hwy o flaen y darllenydd y tro diweddaf. Cyrchai y wraig lygadgroes rywbeth yn y *jug* o dan ei ffedog hwyr a bore, sul, gwyl, a gwaith. Megys yn cael eu harwain gan reddf, neu ynte gan yr arogl, a chyda thraed llychiog a dolurus, parhâi y *German Band*, wedi iddynt fod yn chwythu trwy y dydd, i fyned i Fuarth Jenkins i chwyrnu am noswaith, ac elent ymaith bore drannoeth byth mwyach o bosibl i weled y Buarth drachefn. Trigai Ismael yn unig fel meudwy, ac nid yn unig ychwaith, oblegid yr oedd nifer ei adar yn lïosocach nag erioed. Yr oedd y tymmor wedi bod yn hynod ffrwythlawn, y *canaries* wedi paru yn dda, a'r *mules* wedi troi allan yn *topknots* cryfion a golygus. Ac felly y dylasent, oblegid cawsant eu gwala o *biscuits* ac o wyau wedi eu berwi yn galed, ac o hadau bresych. Yr oedd Ismael yn dal yn gadarn yn ei benderfyniad i beidio myned i'r dafarn, a deuai i'r capel yn gyson. Dywedai ei athraw yn yr Ysgol Sul mai Ismael oedd y dyn mwyaf deallgar a feddai yn ei ddosbarth. Dysgwyliai Mr. Pugh bob Sabboth weled Ismael yn aros yn y seiat, a chredai yn ei galon fod "rhywbeth ar ei feddwl." Ac felly yr oedd rhywbeth ar feddwl Ismael, ac yr oedd yn rhaid iddo gael ei ddyweyd ryw ddiwrnod, ond nid yr hyn a dybiai Mr. Pugh.

Fel Lot yn Sodom, preswyliai Siân Jones yn nghanol yr anwiriaid. Mewn caban bychan cynnwysedig o ddwy ystafell, cegin a siamber wedi eu gwyngalchu oddimewn ac oddiallan, treuliai yr hen wreigan un o'r bywydau mwyaf hapus ag sydd yn disgyn i ran dyn. Gyda'i bonet fawr, yr hon a wisgai bob amser o fewn yn gystal ag oddiallan i'r tŷ—gyda'i chadach India prydferth, a'i phais o stwff cartref—ei hosan a'i gweill yn ei dwylaw, ei hystôl fawr a'r ysmotiau duon arni ar ganol y llawr—ei



Caban Sian Jones. t.d. 166.

Bibl mawr a'r hoelion pres yn ei gonglau—gyda'i "morgan" yn wastad yn suo ar y pentan—drws y caban yn llydan agored—y ddwy iar yn dyfod i mewn yn ddystaw, gan droi eu penau yn gam, a chan edrych i'w hwyneb, a Siân yn hwmian canu—y byddaf bob amser yn cysylltu yn fy meddwl un o'r golygfeydd dedwyddaf a welais yn fy mywyd. Pa fodd yr oedd yr hen wreigan yn cynnal ei hun, ni fedrais erioed ddeall. Derbyniai hanner coron yr wythnos o'r plwyf, a chwe' cheiniog gan Ismael am wneyd ei wely, a thaclu tipyn ar ei dŷ; ac yr oedd y ddwy iar yn gwneyd cydwybod i ddodwy mor gyson ag y gallent. Hyn ydoedd ei holl *income.* Nage, gan gofio, byddai Mr. Pugh bob dydd cyntaf o'r flwyddyn yn anfon iddi hanner sofren, llwyth o lo, a chydaid o bytatws. Talai Siân bymtheg ceiniog yr wythnos o rent i Jeremiah Jenkins, a rhoddai geiniog ar lyfr yr eglwys bob nos Sabboth heb fethu. Ni byddai byth yn cardota, ac ni chlywais ei bod erioed mewn angen. Mae yn rhaid fod rhywun yn rhoddi llawer iddi, ac yn rhoddi yn ddystaw, a'r dydd mawr yn unig fydd yn dadguddio yr holl weithredoedd da a wnaethpwyd yn ddirgel. Y dydd hwnw, yr wyf yn sicr y bydd cyfres hir ar gyfer enw gŵr y Cartrefle.

Yr oedd *brawd* crefyddol Siân Jones, sef Mr. Smart, yn parhâu yn ei berffeithrwydd, ac yn gloddesta yn nghanol ei lawnder. Nid oedd ei wallt na'i gernflew byth yn ymddangos yn fwy nac yn llai. Ymddangosai ei grys a'i goler mor ddilwgr bob amser fel pe buasent wedi eu hysmwddio am dano. Eisteddai bob nos yn yr un gader yn ei barlwr costfawr. Cyfranai natur glustogaidd y dodrefn ryw naws meddfiyd i'w lais dwfn ac awdurdodol, yr hwn a edmygid gan ei hanner oreu, a berchid gan ei ferch, ac a ofnid gan Fred. Yr oedd y ddysgyblaeth lem a weinyddwyd ar Fred wedi ei wneyd yn fachgen llwfr a hurt, ac yn un oedd yn cael ei orchfygu bob awr o'r dydd ac ar bob amgylchiad gan gwsg. Yn ol pob golwg, nid oedd tyfiant yn cymeryd lle mewn un rhan o'i gorff na'i feddwl, oddigerth yn ei goesau, yr hyn a roddai iddo yr ym-

ddangosiad o blentyn yn cerdded ar *stilts*. Pan fyddai Fred yn dyweyd ei adnod yn y seiat, tybiai y rhai pellaf oddiwrtho yn y capel ei fod yn sefyll ar fainc, gan mor blentynaidd oedd ei lais a'i wynebpryd. Yr oedd Miss Smart yn gwneyd i un feddwl am lyfr yn dyfod allan yn rhanau misol; yr oedd y plyg yno yn gyflawn, ond y rhifyn cyntaf ydoedd o ddynes. Serch hyny yr oedd hi, dybygid, yn ateb y dyben yr anfonwyd hi i'r byd, sef i chwareu y berdoneg, gweithio'r *crochet* ac astudio y *Journal of Fashion*.

Nid oedd ball ar Mr. Bevan am araeth; ond yn ddiweddar, pan gyfodai ar ei draed i siarad, ni byddai yn briwo teimladau fwy nag un neu ddau fan bellaf o'r aelodau ar y tro. Wrth i mi ddyweyd fod Mr. Howells yn eistedd bob amser yn yr un man yn y sedd fawr, ac yn cyhoeddi yn yr un geiriau yn fanwl ar hyd y blynyddoedd, byddaf yn dyweyd y cwbl ymron a ellir ei ddyweyd am dano. Wrth i mi adrodd fod Mr. Phillips, y blaenor *nervous*, yn byw yn y Dreflan, a'i fod yn myned i'r *vestry-room* bob nos Sabboth i ysgwyd llaw â'r pregethwr, ac i ddyweyd yr un geiriau yn gymhwys wrth bob llefarwr, sef "Nos dawch; brysiwch yma eto," ac fod y geiriau hyn yn gosod Mr. Smart mewn sefyllfa annymunol pan fyddai efe wedi penderfynu peidio gofyn cyhoeddiad i'r gŵr dyeithr, byddaf wedi dyweyd cymaint ymron ag a ellir ei ddyweyd am dano yntau.

Yr oedd yr adnabyddiaeth fanwl a feddwn o Noah Rees, a'n cyfeillgarwch dwfn, yr hwn a ffurfiwyd pan oeddym gyda'n gilydd yn yr Athrofa, yn peri i mi deimlo yn bryderus am i'w ddyfodiad atom fod o fendith i'r eglwys ac iddo ef ei hun. Credwn fod ynddo lawer o gymhwysderau i wneyd y gwaith yr oedd wedi ymgymeryd âg ef. Yr oedd yn meddu talent neillduol i adnabod y natur ddynol; yr oedd o dymher hynaws a phwyllog, yn efrydydd diwyd, ac yn feddyliwr gwych; a bum lawer gwaith yn cenfigenu at ei dduwiolfrydedd. Ond yr oedd ynddo rai pethau eraill ag yr ofnwn a allasent filwrio yn erbyn ei boblogrwydd. Yr oedd yn hollol analluog i wenieithio,

ac yn fwy tueddol i ddyweyd yr hyn a gredai yn ei galon ei fod yn wir, na'r hyn y gwyddai a fuasai yn cymeryd yn dda. Er nad oedd dim yn ei ymdygiad ag oedd yn arddangos y gradd lleiaf o falchder, yr oedd yn hynod o annibynol ei feddwl, ac yn casâu gwaseidd-dra â chas perffaith. Ceisiai fod ar delerau da gyda phob dyn; ond yr oedd ei waith yn gwneyd cyfeillion mynwesol o bersonau neillduol â thuedd ynddo o bosibl i greu cenfigen mewn eraill. Yr oedd Noah wedi bod gyda ni er ys cryn amser bellach, ac yn cael ei hoffi gan y lliaws, a'i edmygu yn fawr gan yr aelodau mwyaf deallgar. Dywedai hyd yn nôd Mr. Smart, fod y bugail wedi troi allan yn well nag y dysgwyliasai iddo wneyd, er nad oedd efe eto y peth y dymunasai iddo fod. Yn nhyb Mr. Smart, yr oedd tipyn gormod o blaindra yn y bugail; "ond," meddai efe, "gellir priodoli hyny i'r argraff a dderbyniodd wrth gymdeithasu cymaint â Mr. Pugh." Tybiai Mr. Smart hefyd y dylasai Mr. Rees fyned at Meistri Simon and Salt, *Merchant Tailors*, i gael ei ddillad, ac nid at William Jones. Yr oedd ef, Mr. Smart, a'r curad, fel yr oedd Mr. Bevan yn gwybod, yn cael eu dilladu gan Simon and Salt; ac er eu bod yn costio tipyn ychwaeg, yr oedd *appearance* yn myned ymhell. Y diffyg mwyaf a welai Joseph Wynn, y dechreuwr canu, yn Noah oedd, ei fod braidd yn ddisylw o gerddoriaeth y cysegr. Yr oedd Joseph yn ofni, pe buasid yn pwyso ar Noah, y dywedasai ei fod yn credu fod pregethu yn fwy pwysig na chanu mawl. Nid oedd Joseph yn sicr o hyn, eithr ofnai fod Noah yn coleddu yn ddirgel y syniad peryglus hwn. Canmolid Noah gan Mr. Bevan am nad oedd yn ymyraeth dim â materion arianol yr achos, ac am ei fod yn dal yn ffyddlawn i ymweled â'r aelodau a'r gynnulleidfa. Tybiai eraill ei fod yn ymweled gormod, ac fod perygl i bobl flino arno, ac mai mwy buddiol a fuasai iddo aros yn ei fyfyrgell i barotoi gwell pregethau. Syniad Mr. Sharp Rogers am dano oedd, na welodd efe neb mor anhawdd cael het i'w ffitio. Yr oedd Noah yn gymeradwy gan y tlodion, ac yn ffafryn gan y bobl ieuainc. Credaf mai yr unig wr ieuanc nad

oedd ei edmygedd o hono yn cynnyddu oedd J. Aelod Jones. Yn y cyfarfod darllen yr oedd chwyddedigaeth Aelod Jones yn cynnyddu mor enfawr fel yr ofnai Noah fod perygl i ymrwygiad gymeryd lle; ac er mwyn arbed llanastr, tybiodd yn ddoeth ei dapio. Bu y meddygwaith, yr hwn a wnaed yn mhresennoldeb yr holl efrydwyr, yn hynod lwyddiannus i dynu y chwydd i lawr. Gwnaeth Noah yr *operation* mor fedrus, ac mewn amser mor anhygoel o fyr, nes ennill edmygedd yr holl edrychwyr; ond rhyfedd! collodd edmygedd y goddefydd.

Tua'r cyfnod hwn yr oeddwn yn meddwl fod genyf gŵyn yn erbyn Noah, ac yr oeddwn ymron a chredu fod ei gyfeillgarwch tuag ataf yn oeri. Am yspaid maith wedi iddo ddyfod i'r Dreflan, ni byddai byth yn myned i'r Cartrefle heb alw am danaf i fyned gydag ef. Ond erbyn hyn, byddai yn myned yno yn amlach hebof na chyda mi, a rhoddwyd ar ddeall i mi gan Jim y byddai yno yn aml iawn. Ni byddai Noah byth yn son wrthyf ei fod wedi bod yno; ac os soniwn i wrtho ef, yr oeddwn yn methu deall paham yr oedd yn ymddangos mor gynhyrfus, ac yn cymeryd y fath drafferth i esbonio i mi y rheswm am ei ymweliad. Gofynwn yn fynych i mi fy hun a oedd gwir anghenrheidrwydd am iddo fyned i'r Cartrefle ddwywaith yr wythnos, pan oedd unwaith yn y pythefnos yn ddigon aml ganddo ychydig fisoedd yn ol. Ai eisieu gweled *Mr.* Pugh oedd arno? neu a fyddai efe yn troi gartref pan ddywedai Susan wrtho, pan yn agor y drws iddo, fod Mr. a Mrs. Pugh wedi myned allan? Pan awn i'w lettŷ gyda'r nos, gan feddwl cael ymgom am awr, a chael ei fod yntau allan, os aroswn i siarad ychydig â Mrs. Jones,—paham y byddai hi yn sicr o ddyweyd wrthyf "fod Enoch Jones yn wastad yn dyweyd y gwnaethai Miss Pugh wraig ragorol i bregethwr; a phwy oedd yn ei hadnabod yn well nag Enoch Jones?" Yr oeddwn wedi sylwi na byddai Noah byth yn canmawl Miss Pugh wrthyf yn ddiweddar. A oedd efe yn meddwl llai o honi fel yr oedd ei adnabyddiaeth o honi yn cynnyddu? Pan ddygwyddwn fyned gydag ef i'r

Cartrefle, methwn yn glir a chanfod rhithyn o sail i'r awgrymiadau Mrs. Enoch Jones. Ac yr oeddwn wedi penderfynu na chyfeiriwn at y peth wrth Noah nes i mi gael rhyw dir i sefyll arno. Sylwais y byddai Miss Pugh yn gwrido tipyn wrth ysgwyd llaw â Noah a minnau; ond byddai bob amser yn gwneyd hyny, felly nid oedd hyny yn profi dim. Yn wir, yr oedd holl ymddygiad Miss Pugh yn dangos yn eglur i mi nad oedd dim *neillduol* rhyngddi â fy nghyfaill. Ofnwn ei bod yn ymddwyn yn fwy oeraidd tuag ato nag arferol; ac nid allwn beidio sylwi ei bod yn rhoi llawn cymaint os nad mwy o sylw ac o groesaw i mi nag i Noah. Yr oedd yn ddrwg genyf yn fy nghalon weled hyn, a theflais ymaith o fy meddwl awgrymiadau Mrs. Enoch Jones fel chwedl hen wrâch. Yr oedd agos i bythefnos wedi myned heibio, a Noah heb fod gymaint ag unwaith yn ymweled â mi, a'i dro ef ydoedd i ddyfod i edrych am danaf fi. Cofiwn nad oedd efe mor rhydd a chyfeillgar pan oeddwn ddiweddaf yn ei letty, a'i fod yn ymddangos i mi yn absennol ei feddwl, neu ynte fod ganddo gŵyn yn fy erbyn. Yr oedd hyn yn fy mhoeni yn fawr; ond ymatteliais heb wneyd sylw o'i ymddygiad. Un noswaith, wrth ei weled mor hir heb ddyfod i ymweled â mi, daeth meddwl sydyn ataf y mynwn gael gwybod pa drosedd yr oeddwn yn euog ohono; canys nid allwn oddef y pryder yn hŵy, a hwyliais tua'i letty. Erbyn i mi fyned yno nid oedd Noah i mewn, ac nid oedd genyf finnau flâs i wrando ar ddyfyniadau o Enoch Jones. Felly penderfynais yr awn i gyfeiriad y Cartrefle, gan feddwl y gallwn gyfarfod fy nghyfaill ar y ffordd. Nid oeddwn wedi myned ymhell pan gyfarfum â Susan. Gofynais iddi a welsai hi fy nghyfaill y noswaith hono? Atebodd nad oedd wedi ei weled, ond y gallai *guesio* lle yr oedd os oeddwn eisieu ei weled yn benodol; ac ychwanegodd, "mai hawdd iawn oedd i ryw bobl roi cynghorion i bobl ieuainc i beidio aros allan yn hwyr, ond mai nid pawb oedd yn cael derbyniad i'r tai y dymunent fod ynddynt fel rhyw bobl y gwyddai hi am danynt." Ychwanegodd Susan drachefn, "fod rhyw bobl yn gwy-

bod ymha le yr oedd pres, eu bod nhw yn wastad yn gwybod, er nad oedd hi yn cenfigenu—ei bod hithau wedi cael cynnygion fwy nag un, ac wedi eu gwrthod, a phe buasai rhyw bobl yn cynnyg iddi hi mai gwrthod y rhai hyny y buasai hi hefyd, serch eu bod yn gwisgo cadach gwyn." Yr oeddwn wedi fy synu yn hollol, ac aethum i'm ffordd heb ofyn cwestiwn arall i Susan. Teimlwn yn ddig at Noah am fod "y peth" yn cael ei awgrymu gan hen wragedd, a'i siarad gan forwynion, ac yntau heb son gair wrthyf.

Pan oeddwn yn nesâu at y Cartrefle, gwelwn Jim yn sefyll yn dalog yn y porth, â'i ddwylaw yn ei bocedau, ac wedi ei wisgo yn drefnus a graen dda arno ymhob ystyr, a'i het ar un ochr i'w ben, ac yn edrych fel mab i ryw *country squire.* Gofynais iddo pwy oedd i mewn? Atebodd, "Meistar, Meistres, Miss, a'r Meistar newydd," gan roddi winc deallgar arnaf. Bu agos i mi ei darawo am ei fod yn gwybod mwy na fi am fy nghyfaill; ond cofiais yn y fynyd nad oedd neb yn gwneyd gwell defnydd o'i lygaid na Jim, a maddeuais iddo yn fy nghalon am fod yn fwy craff na fi. Hysbysodd Jim fy nyfodiad, a gwahoddwyd fi i fewn. Yr unig un â gwen ar ei hwyneb oedd Mrs. Pugh. Edrychai y tri eraill yn ddifrifol a chythryblus. Fel esgusawd dros fy ymweliad hwyrol, dywedais fy mod wedi dyfod i nol Noah gartref. Atebodd Mrs. Pugh fy mod yn garedig iawn, *gan fod arno anghen, fel yr oedd yn ymddangos, am rywun i ofalu am dano.* Chwerddais ar y *joke,* ac edrychodd Noah a Miss Pugh yn wirion, ac ocheneidiodd Mr. Pugh, gan edrych ar y darlun oedd uwch ben y lle tân. Dywedodd Mrs. Pugh y caffai Noah ddyfod gyda mi wedi i Kit chware tôn ar y *piano.* Ymddangosai Miss Pugh yn falch o'r cyfleusdra, ac aeth at yr offeryn y fynyd hono Clywswn hi yn chware y berdoneg rai cannoedd o weithiau o'r blaen, ac o herwydd fy mod wedi ei chlywed mor aml, yr oeddwn yn weddol gydnabyddus â phob dernyn o gerddoriaeth a feddai. Ond y noswaith hon, chwareuodd rywbeth na chlywais mo hono byth cynt nac wedi hyn; a fy argraff

ydyw na fu y dernyn mewn bodolaeth ond am y mynydau y buwyd yn ei chwareu. Ymddangosai fel ymarllwysiad o deimladau angerddol oedd wedi hen groni yn ei mynwes hi ei hun, ac na roddwyd tafod nac iaith iddynt yn flaenorol. Ar un adeg yr oedd y nodau yn ddwfn a lleddf, ac fel pe buasent yn galw yn ol hen gyfeillion a dyddiau o'r pell orphenol, ac ymsyniadau yr ydym oll wedi eu teimlo, ond na fedraswn erioed roi mynegiad iddynt. Ar brydiau eraill, byddai y gerddoriaeth yn hoewach ac ysgafnach, ac fel mân ffrydiau arianaidd yn treiglo o wahanol gyfeiriadau i un llyn mawr, yr hwn oedd yn ymchwyddo yn barhâus, ac o'r diwedd yn tori ei holl argaeon, ac yn ymdywallt yn rhaiadrau gwallgofus, i'r nentydd islaw, ac er cymaint oedd ei dywalltiadau nad oedd ei adnoddau yn lleihâu. Drachefn, megys heb yn wybod i mi, trosglwyddai y gerddoriaeth fi i ryw ystâd neu rywbeth na fuaswn ynddi o'r blaen, lle nad oedd ond meddyliau ac ysbrydoedd a phurdeb yn ei phoblogi, ac yn ol drachefn i ganol gofid, ymdrechiadau, a hiraeth, nes oeddwn yn teimlo rhywbeth yn cerdded rhwng fy nghnawd a fy nghroen, a'r ychydig wallt oedd genyf yn sefyll ar fy mhen. Yn nghanol y teimladau rhyfedd hyn, nid allwn beidio sylwi nad oedd neb ond Mrs. Pugh a minnau yn mwynhâu y gerddoriaeth. Edrychai Noah yn absennol ei feddwl, a Mr. Pugh yn brudd. Tra yr oedd Miss Pugh yn chware, tybiwn fod meddyliau ei thad yn rhywle pell, ac fwy nag unwaith edrychodd yn hiraethlawn ar y darlun uwch ben y lle tân. Can gynted ag y gadawodd Miss Pugh yr offeryn, cyfododd Noah a minnau i fyned adref, a daeth Mr. Pugh i'n danfon at y drws. Yr oeddym wedi cychwyn ymaith, pryd y galwodd Mr. Pugh ar Noah yn ei ol, a chlywais ef yn dyweyd braidd yn bruddaidd, "Wel, felly y rhaid iddi fod, ddyliwn."

Yn lled agos i'r Cartrefle, cyfarfuasom â Susan a rhywun gyda hi, yr hwn, yn ddiau, yr oedd hi am ei wrthod. Am enyd cerddasom mewn dystawrwydd. Yn y man dywedais, "Noah, yr wyf wedi digio wrthyt, ac ym-

ddengys fod genyt tithau gŵyn yn fy erbyn innau, a gwell i ni gael deall ein gilydd."

"Wedi digio? y fi gŵyn yn dy erbyn? Beth sydd arnat, fachgen?"

Cyhuddais ef o oerfelgarwch tuag ataf, ac o fod wedi cadw oddiwrthyf ei gysylltiad newydd â theulu y Cartref-le. Chwarddodd Noah yn uchel, ac ymhlith pethau eraill dywedodd,

"Fy nghyfaill, yr wyf yn credu heno yn fwy nag erioed mewn argraffiadau cyntaf. Y diwrnod cyntaf y gwelais yr eneth yna, credwn na welais erioed ei chyffelyb, ac y mae pob tro y gwelais hi ar ol hyny wedi dyfnhau yr argraff, nes y mae pethau wedi dyfod i'r—wel, i'r hyn y cyfeiriaist ato. Fy amcan yn cadw y peth oddiwrthyt oedd, er mwyn rhoi *surprise* i ti; ond yr wyf wedi colli y pleser hwnw. Gallwn ddyweyd llawer o bethau wrthyt oni bae fod genyf ofn i ti chwerthin am fy mhen. Pan sylweddolais fy ngwir deimladau at Miss Pugh, dywedais fy ystori wrthi oreu y gallwn. Gwenieithwn i mi fy hun y gwyddwn yr ateb a gawn cyn gofyn o honof. Gwrthododd ddyweyd dim wrthyf ond a ddywedai trwy ei llygaid; a chyfeiriodd fi at ei thad. Gwyddwn nad oedd fy amcanion yn ddyeithr i Mrs. Pugh, a'i bod yn gallu fy narllen càn hawdded a darllen y *Rhodd Mam.* Felly achubais gyfleusdra i gynnal *cabinet council* hefo'r hen foneddiges. Am beth amser, triniodd fi yn enbyd, a bu agos iddi a thori fy nghalon; ond ar y diwedd addawodd arfer ei holl ddylanwad o fy mhlaid, ar yr ammod i mi ofyn caniatâd Mr. Pugh yn ei phresennoldeb hi a Kit, yr hyn a wnaethum heno. Os buasai yr ateb yn foddhaol, yr oeddwn wedi penderfynu dyfod ac i ddyweyd wrthyt hyd yn nôd pe buasai raid i mi dy gyfodi o dy wely."

"Wel," ebe fi, "pa beth a ddywedodd Mr. Pugh?"

"Mae genyf ofn," ebe Noah, "y bydd raid i mi ofyn hyny i Mrs. Pugh, oblegid yr oeddwn yn hanner byddar. Ni bum erioed mor *nervous;* byddai yn well genyf fyned trwy gant o *examinations* athrofäol na myned trwy yr un gwaith eto. Yr oeddwn yn chwys dyferol, ac yn methu

yn glir a chael y geiriau yr oeddwn eu heisieu, a gwyddwn o hyd fod Mrs. Pugh yn cael difyrwch wrth fy ngweled mor garnbwl. Pan ellais, drwy fawr drafferth, wneyd fy meddwl yn hysbys, edrychodd Mr. Pugh fel pe buasai wedi ei darawo gan fellten; a'r unig eiriau a ddeallais iddo ddyweyd oeddynt, 'Wel, wired a mod i yn y fan yma! wired a mod i yn y fan yma! Be mae Kit yn dd'eyd? Be mae Jane yn dd'eyd?' Cyn i neb gael ei ateb, agorodd Jim y drws i ti ddyfod i mewn, ac ni fu erioed yn well genyf dy weled. Clywaist ef yn dyweyd pan oeddym yn cychwyn ymaith, 'mai felly y rhaid iddi fod.'"

Yr oedd y noswaith yn hyfryd, a cherddodd Noah a minnau am rai oriau cyn myned i'n preswylfëydd, gan siarad am—, wel, am yr eneth oreu yn y byd yn meddwl Noah; a phe buasai hi yn ddengwaith gwell, ni fuasai yn rhy dda iddo yn fy meddwl innau. Wedi i mi ymadael â Noah, nid allwn beidio meddwl am wyneb prudd Mr. Pugh, yr hwn ar adegau eraill oedd yn nodedig am ei sirioldeb; eithr pan ddaw achlysur i mi ddwyn teulu y Cartrefle o flaen y darllenydd y tro nesaf, bydd y wyneb hwnw yn llawer mwy prudd, a'i ofid yn un gwirioneddol.

---

## PENNOD XX.

### JEREMIAH JENKINS YN EISIEU.

YR oedd yr hwn a ddywedodd nas gŵyr un hanner o'r byd pa fodd y mae yr hanner arall yn byw, yn gwybod rhywbeth o hanes y natur ddynol. Gallwn feddwl mai nid cyfeirio yr oedd y doethawr at yr anwybodaeth ag y mae pellder yn achos o hono, megys er esiampl na wyddom ni sydd yn byw yr ochr yma i'r ddaear pa fodd y mae ein gwrthdroedwyr yr ochr arall yn byw. Mae

gwirionedd y dywediad yn nês atom o lawer;—nis gŵyr y naill hanner o bentref neu gymydogaeth pa fodd y mae yr hanner arall yn byw. Mae cymydogion dyn gan amlaf yn ddirgelwch iddo, ac yntau yn ddirgelwch iddynt hwy. Ac onid ellir myned gam ymhellach, a dyweyd nad ŵyr dyn ond y naill hanner o'i hanes ei hun? Oni pherthyn iddo rywbeth nad yw yn ei ddeall, a chyfrinach, nid yn unig na ŵyr neb arall, ond na faidd neu ynte na fyn ei haddef wrtho ef ei hun? Oni pherthyn iddo bethau ag y mae ganddo ofn ymgydnabyddu â hwynt; ac onid ydyw yn aml yn chware cast âg ef ei hun, ac yn ymddwyn tuag ato ei hun fel pe byddai yn rhywun arall? Ddarllenydd, oni fuost ti yn diolch lawer gwaith nad ydyw pobl eraill yn gwybod cymaint am danat ag a wyddost ti dy hun? A pha beth ydyw yr achos dy fod di a minnau mor anewyllysgar i wybod mwy am danom ein hunain? Ai onid ein bod yn ofni syrthio yn ein golwg ein hunain? Mor garedig y bu yr Hwn sydd yn ein hadnabod yn berffaith wrth beidio rhoddi y gallu hwn i eraill!

O herwydd mai anmherffaith iawn yr ydym yn adnabod ein gilydd, ymddengys fod dosbarth llïosog o honom yn credu yn athrawiaeth yr *appearance* y soniai Mr. Smart gymaint am dani, er nad ydym yn ei hargymhell fel y gwnai efe. Fel y gwesgir yn y peth yma a'r peth arall er mwyn cadw i fyny yr ymddangosiad, ac er mwyn gwneyd argraff ar feddyliau eraill ein bod yr hyn nad ydym! Os taenir y gair fod Mr. Jones yn gyfoethog iawn, er y gŵyr Mr. Jones mai tlawd ydyw, a ydyw efe yn achub pob cyfleusdra i gywiro syniadau pobl am dano? Dim perygl. Pan mae Mr. Jones yn troi allan yn ei gerbyd yn y bore, a Robert Roberts y saer maen yn gwneyd *bow* iddo, a ydyw Mr. Jones yn galw ar Robert ac yn dyweyd wrtho, "Robert, peidiwch a gwneyd *bow* i mi; yr ydych yn fwy cefnog o lawer na fi; bore heddyw cefais lythyr yn bygwth cyfraith arnaf oni thalwn fy nyled, ac echdoe y bu raid i mi fenthyca hanner can' punt i gau safn gofynydd arall" Ni choeliaf fawr Yn unig cydnabydda Mr. Jones y "dyledus barch" ac a Robert Roberts at y

morthwyl a'r llwy-forter, gan wynfydu sefyllfa ei gymydog. Mae rhyw barodrwydd mawr mewn dyn ymhob sefyllfa ymron i dderbyn gwarogaeth anhaeddiannol, can belled ag nad ŵyr neb ei bod yn anhaeddiannol. Dyna Boaz Davies, yr hwn sydd yn cael y gair ei fod yn ysgrifenu erthyglau penigamp i *Udgorn y Werin*, er nad ysgrifenodd Boaz erthygl erioed a ydyw yn gwadu pan awgrymir wrtho mai efe ydyw awdwr yr erthygl alluog yn y rhifyn diweddaf? Gwnewch brawf arno, a chewch weled mai gwenu a wna Boaz, a gofyn i chwi pwy oedd yn dyweyd hyny. Dyna Mrs. Swankey, y weddw foneddigaidd sydd yn byw ar ei harian, yr hon y tybir ei bod yn perthyn i deulu uchel o Sir Amwythig, a'i bod yn perchen eiddo gwerth dau cant o bunnoedd yn y flwyddyn: a ddarfu iddi hi ddyweyd wrth rywun ei bod yn yfed coffi heb siwgr, ac mai deg swllt yr wythnos ydyw ei holl incwm, yr hwn a dderbynia trwy garedigrwydd ei brawd yn nghyfraith, ac mai *nailer* oedd ei thad? Naddo erioed. Dyna Caleb Hughes hefyd, yr hwn a fu daer ar ei gyfaill Mr. Powell i ddyfod i giniawa gydag ef, er na ddychymygodd y buasai Powell yn derbyn y gwahoddiad: a ddarfu i Caleb ddyweyd wrth ei gyfaill ar ol hyn am y wers a gafodd efe gan Mrs. Hughes am fod mor ynfyd, ac fel y bu raid benthyca cyllyl a ffyrc gan wraig y tŷ nesaf, ac fel bu raid cosbi y teulu am ddeuddydd i wneyd i fyny y golled a achoswyd gan y ciniaw? Naddo A phe buasai Caleb wedi dyweyd, ni buasai Mrs. Hughes byth yn maddeu iddo.

Dygwyddais un noswaith fyned i ymweled â Noah yn ei lettŷ, a chefais fod Mr. Pugh yno o fy mlaen. Ymhlith pethau eraill, aethom i ymdrin â'r pwnc yr wyf eisoes wedi cyffwrdd âg ef, sef mor ychydig a wyddom am ein gilydd, ac fel y mae gan bob teulu a phob aelod o'r teulu eu cyfrinach; ac adroddwyd am y filfed waith ystori y *skeleton* yn y cwpbwrdd. Daliai Noah yn gadarn fod llawn cymaint o hanes dyn allan o'r golwg ag sydd yn y golwg, ac fod yn rhaid wrth ffydd gyda phethau y byd a'r bywyd hwn yn gystal a phethau y byd arall. Nid oedd

M

Mr. Pugh yn myned lawn mor bell a hyn; ond caniatâi yntau fod cryn lawer o hanes dyn neu deulu yn eiddo personol, nad ellid ei gyfranu i eraill. "Er engraifft," meddai, "dyma chi'ch dau, yr ydach chi'n gyfeillion mawr, ond dydach ch'i ddim wedi deyd y cwbl i'ch gilydd eto; a ddaru ch'i 'rwan? ddeydwch ch'i byth mono chwaith. Ac felly mae hi i fod hefyd. 'Does ond Un i wybod y cwbl o'n hanes ni. Dase ni yn gwybod hanes ein gilydd fel yr yden ni yn gwybod ein hanes ein hunen, mi fuase gynon ni lai o lawer o *gount* o'r Brenin mawr. Pwy fase'n gallu gwneyd Duw yn *confidant*, dase pawb yn gwybod ein hanes ni? 'Rydw i wedi bod yn meddwl am y pwnc yma lawer gwaith o'r blaen, er na fedres i mo'i ddeyd o a'i drin yn athronyddol fel y gwnaeth Mr. Rees heno. Ar bwnc fel hyn, fedra i 'namser ddeyd fy meddwl heb gael siampal. Dene Jeremiah Jenkins 'rwan: pwy sy'n 'i nabod o, os gwn i? Mi ddyffeia i fod mwy o hanes y dyn ene allan o'r golwg nag sydd yn y golwg. Be dach chi'n ddeyd?"

"Gan i chwi son am Mr. Jenkins," ebe Noah, "beth ydyw y rheswm ei fod wedi cau ei fasnachdŷ mor gynnar heddyw? A ydyw Mrs. Gilt wedi marw?"

"Wel, mi ddeyda i ch'i," ebe Mr. Pugh; "dydi Mrs. Gilt ddim wedi marw, ond mae hi yn sâl iawn. Unig chwaer Mrs. Jenkins ydi Mrs. Gilt, a hono yn weddw, ac yn berchen llawer o eiddo. Pan glywodd Jeremiah fod ei chwaer yn nghyfraith yn beryglus o wael, dacw fo yn pacio Mrs. Jenkins yno ar unwaith, rhag ofn, mae'n debyg, i'r *gilt* golli o'r teulu. Mae Mrs. Jenkins hefo'i chwaer yrwan er's pythefnos; ac echdoe anfonodd lythyr at Tom fod ei fodryb yn ol pob golwg yn darfod, a'i bod yn dymuno cael ei weled yn union deg. Aeth Tom yno yn syth; a bore heddyw dyma lythyr oddiwrth Tom at ei dad fod ei fodryb *yn* marw ac eisio ei weled yntau, ac yr oedd Jeremiah yn deyd bore heddyw ei fod yn anfon y forwyn at ei mam am ddeuddydd neu dri, a'i fod am gloi y lle i fyny, a chychwyn i ffwrdd hefo'r trên diwaetha bygaswn i; ac mi ellwch fod yn siwr fod Jeremiah yn

dysgwyl rhywbeth ar ol Mrs. Gilt, cyn y base fo yn gneyd y fath aberth. Gybeithio'r anwyl y cofiff y fodryb am Tom; bachgen clên anwêdd ydi Tom."

"I'r pant y rhed y dŵr," ebe Noah.

"Wel," ebe Mr. Pugh, "mae gen i gryn ddowt a oes llawer o ddŵr yn y pant ene. Mae Jeremiah yn cael edrych arno fel dyn cyfoethog; ond faswn i ddim yn rhoi rhyw lawer am fod yn scutor iddo fo. Rydw i yn ammheu yn fawr a oedd o yn werth rhywbeth cyn priodi, ac a gafodd o gymaint a ddysgwyliodd o ar ol priodi; ac mi wyddoch o'r gore ei fod wedi speciletio llawer. 'Roeddwn ni yn sylwi fore heddyw hefyd fod 'i *stock* o yn druenus o'r bechan. Ond deydwch i mi, ydan ni yn peidio janglo? 'Rydan ni yn myn'd yn o bell, mae gen i ofn."

Cyn i Mr. Pugh gael dyweyd ychwaneg, daeth Mrs. Jones i mewn â'i gwynt yn ei dyrnau a'i gwyneb càn wyned ag amdo. "O Mr. Pugh bach anwyl," gwaeddai, "'roedd Enoch Jones yn wastad yn deyd mai i hyny y doe hi; a phwy oedd yn 'i nabod o yn well nag Enoch Jones? Do, do, mi ddeydodd Enoch Jones y bydde rhywbeth yn siwr o hapno iddo fo."

"Beth ydyw'r mater, Mrs. Jones?" gofynem ein tri ar unwaith.

"On' dydi dŷ o ar dân, Mr. Pugh bach! O fel mae 'i eirie fo yn d'od i ben."

"Yn enw pob rheswm, tŷ pwy sydd ar dân?" gofynai Mr. Pugh.

"O Mr. Pugh, mae nhw'n deyd fod o wedi llosgi i'r llawr," atebai Mrs. Jones.

"Tŷ pwy, wraig bach?" gofynai Mr. Pugh yn ddiamynedd.

"On' ddeydes i, Mr. Pugh bach, fod Enoch Jones ——"

Rhuthrodd Mr. Pugh allan wedi colli pob pwyll; a chan gynted ag y gallodd Noah roddi ei esgidiau am ei draed, rhedasom ein dau ar ei ol. O herwydd fod gan Mr. Pugh fwy o gnawd i'w gario nag oedd genym ni ein dau gyda'n gilydd, nid hir y buom nes cael golwg arno. Yr oedd yr

hen foneddwr trwchus yn troedio ymlaen yn hynod o gyflym, ond ei fod bob rhyw ugain llath yn aros i besychu, gan roddi ei ddwylaw ar ei liniau. Yr oedd yr olwg arno braidd yn ddigrifol, ac yn adgofio Noah a minnau yn rymus am y chware a fyddai genym pan yn yr ysgol, yr hwn a elwid *leap frog*. Nid allem beidio chwerthin wrth weled Mr. Pugh yn rhedeg am bellder, ac yna yn sefyll gan roddi ei ddwylaw ar ei liniau, a gwyro ei ben i lawr fel pe buasai yn dysgwyl i rywun o'r tu ol iddo neidio dros ei gefn. Pa fodd bynag, daethom o hyd iddo yn lled fuan, a chymerasom afael ynddo, un yn mhob braich, gan ei helpu ymlaen. Pan wnaethom hyn, rhoddodd Mr. Pugh *nod* diolchgar arnom; ond nid allai ddyweyd yr un gair, gan mor llwyr yr oedd wedi colli ei anadl. Ar ein ffordd yr oeddem wedi myned heibio i amryw bobl, ac amryw wedi myned heibio i ninnau; ac yn ateb i'n holl ofyniadau, ni chaem ond y gair "Tân." Nid oedd neb yn ymddangos eu bod yn gwybod pa le yr oedd y tân; ac os gwyddent, yr oeddynt yn rhy frysiog i allu adrodd.

Fel yr oeddym yn nesâu i'r brif heol, gwelem ddyn o'n blaenau yn cerdded yn araf â'i ddwylaw yn ei bocedau. Pan ddaethom i'w ymyl, deallasom mai Wil Foulkes ydoedd, neu fel y gelwid ef yn y Dreflan, yr Hen *Cucumber* Rhoddwyd y llysenw hwn arno o herwydd ei ddifrawder, neu ynte ei hunanfeddiant ar adegau pan fyddai pawb eraill yn gynhyrfus. Dywedid ei bod yn ffaith fod ymladdfa galed rhwng dau gymydog wedi cymeryd lle un tro ar gareg drws Foulkes, ac yntau ar y pryd yn darllen y newyddiadur yn hamddenol wrth y pentan, ac heb symud modfedd o'i unfan, na gofyn beth oedd y mater. Dro arall yr oedd Wil yn gweithio ar adeilad uchel, pryd y syrthiodd un o'i gymdeithion o uchder mawr i ganol pentwr o geryg, ac y tybid ei fod wedi ei ladd. Pan ddechreuodd y creadur anffortunus ddadebru, cerddodd Wil yn araf ato, a gofynodd iddo a fyddai efe mor garedig a dyweyd iddo beth oedd hi ar y gloch—hyny ydyw, os oedd ei oriawr heb ei niweidio! Pan geisiasom gan yr Hen *Cucumber* y wybodaeth yr oeddym hyd yn hyn wedi

methu ei chael, safodd yn bwyllog; ac wedi rhoi pesychiad hir, dywedodd, gan gymeryd ei wynt rhwng gwahanol ranau y frawddeg. "Wel—mae nhw yn dyweyd—fod tŷ—Mr. Jenkins—ar dân." Ymaith â ni yn frysiog. Ond wedi myned encyd o ffordd, bu raid i ni roddi hamdden i Mr. Pugh besychu, Tra yr oedd efe wrth y gwaith hwn dygwyddais edrych yn ol, a gwelwn mai yr adeg hono yr oedd Wil Foulkes yn ail gychwyn ar ol bod yn siarad â ni.

Erbyn i ni gyrhaedd at dŷ Mr. Jenkins, yr oedd yr heol yn orlawn o bobl; ac o herwydd fod y nos yn llwyd oleu, canfyddem fod y nifer mwyaf o honynt wedi eu haflonyddu o'u gwelyau, a'u bod heb hanner wisgo am danynt. Gwelsom un dyn â'i gap nos am ei ben. Yr oeddym yn methu gweled arwyddion fod tân o gwbl yn y rhan o'r adeilad a elwid y tŷ; ond yn y rhan arall —y *shop*, eglur ydoedd oddiwrth y mwg oedd yn dyfod allan trwy ochrau y ffenestr, a'r wawr oleu a ganfyddid yn yr ystafell uwch ben, fod yr elfen ddinystriol oddifewn. O herwydd y gwyddid fod teulu Mr. Jenkins oddicartref, ac fod y drysau yn glöedig, nid oedd neb, dybygid, yn teimlo yn ddigon hyf i wneyd mynedfa at y tân, neu ynte yr oedd pawb yn rhy gynhyrfus i feddwl am hyny. Yr oedd y dorf yn gwau drwy eu gilydd yn ddidòr, a phob eiliad yr oeddym yn nghanol cymdeithion newydd. Siaradai pawb eu goreu, ac nid oedd neb yn gwrandaw—yr oedd pawb yn gorchymyn, a neb yn ufuddhâu. Y waedd gyffredin oedd am y tânbeiriant, ond nid oedd neb yn ymddangos eu bod yn gwybod pa le yr oedd yn cael ei gadw, na phwy oedd yn gofalu am dano.

Yn nghanol yr holl hwb dwb, yr oedd y tân yn ennill nerth, a neb yn gwneyd cais at ei ddiffoddi. Yn y fynyd, gwelem y dorf yn ymwahanu i wneyd lle i ddyn mawr esgyrniog, yr hwn a adnabyddid yn y Dreflan wrth yr enw Syr Ned. Erbyn i ni feddwl, yr oedd yn beth rhyfedd ei fod ef heb wneyd ei ymddangosiad yn gynt, oblegid byddai Syr Ned yn ben gŵr ymhob helynt o'r

fath, ac nid oedd yn rhoddi pris ar ei fywyd os byddai gobaith cael chwart o gwrw am ei wrhydri. Nis gallaf roddi cyfrif am y ffaith, ond ffaith ydyw,—pan ddeallodd y dorf fod Syr Ned yn eu mysg, ymagorodd fel o flaen dewin, a rhuthrodd yntau ar hyd y llwybr a wnaed iddo; planodd ei droed mawr yn nrws y *shop*, a gyrodd ef yn llydan agored. Ar yr un foment, daeth allan y fath golofn o fwg tew a barodd i'r dorf gilio yn ol am latheni; a chymaint ag a allai Noah a minnau wneyd oedd cadw Mr. Pugh rhag cael ei daflu i lawr, a pheidio son dim am ei beswch. Wedi agoryd y drws, ac i awyr gael myned i mewn, yr oedd *shop* Mr. Jenkins mewn llai o amser nag y gallaf fi ei ysgrifenu yn wenfflam. Gruddfanodd yr holl dorf; ac yn ngoleuni tanbaid y tân gwelem mai Syr Ned oedd yr unig un y methodd y mwg ei symud. Safai ef yn unig wrth y *shop*, gan waeddi yn awdurdodol am i bawb gario dwfr. Yn ffortunus yr oedd digonedd o ddwfr yn ymyl, a dygwyd allan bob llestr pwrpasol, a rhai anmhwrpasol, i'w gludo; ac ymhen ychydig fynydau, o dan arweiniad Syr Ned, yr oedd y bobl yn gweithio yn ddewr. O ddiffyg lle a threfn, yr oedd hanner y dwfr yn cael ei golli ar y ffordd; ac nid cyn i'r nifer mwyaf o honom gael ein gwneyd càn wlyped ag oedd yn bosibl i ni fod o'n canol i waered, y cafodd y rhai oeddynt yn cludo y dwfr y ffordd yn glir i weithio yn rheolaidd. Am beth amser, nid oedd yr holl gawgiadau o ddwfr a deflid ar y tân ond yn unig yn peri iddo disian ac ymgynddeiriogi. Yn ngolwg yr edrychwyr, nid oedd yr holl weithio ond llafur ofer, a gwaeddai pawb am y tânbeiriant, ac ni wnai y tânbeiriant ei ymddangosiad. Dywedai Mr. Pugh fod yn rhaid fod gan Syr Ned groen o *steel* i allu sefyll lle yr oedd, a derbyn pob cawgiad a llestriad o ddwfr, a'i daflu i lygad y tân. Yn wir, er cynddrwg ac er mor feddw ac isel ydoedd cymeriad cyffredin Syr Ned, yr oedd ei ddewrder a'i nerth Herculeaidd yn ennyn edmygedd yr holl dorf y noson hon. Yn y man canfyddid fod y tân yn lliniaru ychydig, ac fel pe buasai yn dechre tori ei galon. Nid

cynt y gwelwyd hyn nag y dechreuodd y dorf ymwasgu yn nês at y tŷ, ac achosi llawer o rwystr i'r rhai a gludent y dwfr; ond gwaeddodd Syr Ned fod y tân yn ymyl *meter* y nwy, ac fod perygl i rywrai gael eu lladd. Atebodd y gair y dyben, a chiliodd y dorf yn ol. Gydag ymroddiad ac egni di-ildio, torwyd nerth y tân i lawr ac i fyny, a dechreuodd y dorf fod yn gellweirus a cheisio bod yn *witty*. Llongyferchid Syr Ned, yn enwedig pan oedd efe yn sefyll ar ben ysgol, ac yn taflu y dŵr trwy ffenestr y llofft, wrth yr enwau anrhydeddus, "*Baronet*, *Knight of the Garter*, *&c*"

Pan oedd y tân wedi ei lwyr ddiffoddi, clywem sŵn mawr megys trwst cerbyd trwm yn agosâu; ac yn y fynyd gwelem y tânbeirîant yn gwneyd ei ymddangosiad, yn cael ei ddilyn gan y *fire brigade* a dau heddgeidwad. Rhoddodd y dorf un fonllef fawr o gymeradwyaeth gwawdlyd, gan dori allan i chwerthin yn uchel; a rhaid i mi ddyweyd fod y swyddogion golygus wrth natur—ar y pryd yn edrych braidd yn *small*. Fodd bynag, gwnaeth y ddau heddgeidwaid y goreu o'r amgylchiad, a cherddásant yn seremonïol at y fan lle yr oedd y *tân wedi bod*—cymerasant feddiant o'r tŷ; a gorchymynodd y prif swyddog, ar lawes cob yr hwn yr oedd rhimyn lliwiedig, i Syr Ned fyned o gwmpas ei orchwyl. Cynhyrfodd hyn Mr. Pugh nid ychydig, ac aeth yn syth at Syr Ned, a rhoddodd ychydig sylltau yn ei ddwrn; ac am ei garedigrwydd cafodd Mr. Pugh *three cheers* gan y dorf, yr hyn a barodd i'r prif swyddog dynu ei gorn ato. Yn ddigon priodol gosododd y prif swyddog yr îs-swyddog i sefyll yn nrws y tŷ, er mwyn cadw y bobl allan, ac aeth yntau gyda chynnorthwy ei lamp i archwilio yr ystafelloedd. Ymhen y ddau fynyd dychwelodd a galwodd ar Mr. Pugh ato i wneyd ail ymchwiliad. Dychwelodd y ddau yn union deg, a galwodd Mr. Pugh ar Noah a minnau; ac yn nghysgod ein cyfaill, cawsom yr anrhydedd o gynnorthwyo yn y trydydd archwiliad. Yr oedd y tân wedi gwneyd dinystr dychrynllyd yn y *shop*, ac nid oedd dim ymron wedi dianc rhag ei lid. Pan aethom i'r

ystafelloedd eraill, tarawyd ni â syndod, ac o'r braidd y gallai Mr. Pugh lywodraethu ei dymher. Yr oedd lloriau pob ystafell wedi eu gorchuddio â gwellt, *shavings*, papyrau, ysglodion, a phob defnydd tebyg i gymeryd tân, a'r rhai hyny wedi eu trwytho mewn olew a brasder. Dangosai pob peth tu hwnt i ammheuaeth fod yr holl adeilad wedi ei fwriadu a'i barotoi i gael ei losgi yn lludw. Gwyddwn fod ammheuon pob un o honom yn rhedeg i'r un cyfeiriad, er na ddarfu i ni roi mynegiad iddynt.

Gofynodd y prif swyddog i Mr. Pugh a wyddai efe a oedd y lle wedi ei yswirio. Atebodd Mr. Pugh ei fod, ac am swm lled fawr. Edrychodd y prif swyddog yn ddoeth, gan roddi winc ddeallgar arnom. Amlwg ydoedd fod y tân wedi cychwyn yn nghefn y *shop*, ac wedi gwneyd ei ffordd i'r ffrynt; a diau mai ymyriad amserol Syr Ned a'i cadwodd rhag gwneyd ei ffordd i'r rhan a elwid y tŷ. Pan aethom at ddrws cefn y *shop*, yr hwn oedd yn arwain i'r buarth a'r ardd, cawsom ef heb na chlo na bàr arno, a dywedodd yr heddgeidwad fod hyny yn ei ffafr; ond ni ddywedodd pa un ai yn ffafr y drws ai ffafr rhywun arall. Aethom ein pedwar i'r buarth; ac wedi i'r prif swyddog edrych yn fanwl o'i gwmpas, gadawodd ni, gan addaw dychwelyd wedi iddo ymgynghori â'r is-swyddog.

Pan adawyd ni ein hunain, ymollyngodd Mr. Pugh i lefaru: "A glywsoch ch'i erioed am ffasiwn beth yn eich bywyd, bobl? Mae y dyn wedi rhoi ei dŷ ei hun ar dân, 'does dim dowt am dano. Be dach chi'n ddeyd?" Wrth gwrs, nid oedd genym ond cydsynio âg ef. Aethom i'r ardd, gan ymgomio a gofidio am y gwarth a achosai yr amgylchiad ar achos eglwys yr Hen Gapel; oblegid nid oedd yn bosibl na ddeuai pobpeth i'r goleuni. Yr oedd Mr. Pugh yn poethi ac yn colli ei amynedd wrth adgofio fel y byddai gwrthddrych ein hymgom yn galw pawb i gyfrif, a phob amser yn dysgu sancteiddrwydd i'r eglwys. Yr oedd yr ardd wedi ei hamgylchu â gwàl uchel, ac yn y mur pellaf iddi yr oedd drws yn agor i gae perthynol i'r tŷ. Wrth gerdded yn ol

a blaen, sylwasom fod y drws hwn yn lledagored, ac fel pe buasai rhywun newydd fyned trwyddo; a rhoddodd y ffaith hon bwnc newydd i ni ddyfalu ac ymgomio yn ei gylch. Yr oedd y noswaith yn hyfryd, a'r lleuad erbyn hyn yn gwenu yn siriol, fel pe na buasai yr un rhagrithiwr na phechadur erioed wedi bod ar y ddaear. Cerddem ein tri yn ol a blaen, gan ddysgwyl i'r prif swyddog ddychwelyd. Byddai Mr. Pugh weithiau yn cerdded o'n blaenau, ac weithiau ar ein holau. Ymgomiai Noah a minnau am ddygwyddiadau rhyfedd y noswaith, pryd yn sydyn y collasom sŵn troed Mr. Pugh, ac edrychasom ein dau ar unwaith o'n holau, a gwelem ef encyd oddiwrthym wedi sefyll, ac fel pe buasai yn gwrando neu ynte wedi ymgolli yn ei fyfyrdodau.

Y foment nesaf gwelem ef yn rhoi llam tu ol i ryw fangoed, a chlywem ef yn gwaeddi nerth ei ben, "*Scoundrel.*" Mewn amrantiad llygad deallasom fod Mr. Pugh a rhywun arall yn ngyddfau eu gilydd; ac megys ar un naid yr oedd Noah a minnau yn eu hymyl, ond yn rhy ddiweddar. Gorweddai Mr. Pugh ar wastad ei gefn ar lawr, ac yn ymladd am ei anadl; ac yn dianc fel ysbryd gwelem ffurf Jeremiah Jenkins yn myned drwy y drws yn y mur, gan ei gau ar ei ol a'i gloi. Cyn i Mr. Pugh prin ddadebru o'i syfrdandod, neidiodd ar ei draed gan waeddi ei oreu "*Police! police!*" a chychwynodd yn wyllt tua'r tŷ. Gafaelodd Noah yn ei fraich, a dywedodd, "Mr. Pugh, peidiwch a chynhyrfu; cymerwch bwyll. Mae Mr. Jenkins yn sicr o ddyfod i'r ddalfa. Gadewch i'r llwynog gael *start* o flaen y cŵn. Mae genyf ofn fod y filain wedi eich niweidio." "Fy niweidio," ebe Mr. Pugh, "ni choeliaf fawr. 'Daswn i ddeng mlynedd iengach, chawse fo fawr 'neyd fel ene â fi. Ple mae'r *police*, bobl? Dydyn nhw byth i'w cael pan mae——." Yr oedd y prif swyddog wedi dychwelyd, ac adroddodd Mr. Pugh ei ystori wrtho yn gynhyrfus. Aeth yr heddgeidwad ymaith yn frysiog, a bu raid i Noah a minnau fyned i ddanfon Mr. Pugh gartref, oblegid yr oedd efe yn dechre teimlo effeithiau y tafliad a gawsai gan Jeremiah

Jenkins, yr hwn oedd ŵr gewynog a chryf. Pa fodd bynag, wedi cyrhaedd y Cartrefle, daeth Mr. Pugh ato ei hun yn lled dda; ond gofidiai yn fawr fod Jeremiah wedi llwyddo i ddianc. Prophwydai Noah y byddai y dyhiryn yn sicr o ddyfod i'r ddalfa; ond wrth brophwydo, nid oedd efe o dan ysbrydoliaeth, oblegid ni ddaliodd neb Jeremiah. Er i'r heddgeidwaid gynnyg gwobrwyon uchel am ei ddal, neu am unrhyw wybodaeth a arweiniai i hyny, ni chlywyd gan bobl y Dreflan siw na miw byth am dano, mwy na phe buasai y ddaear wedi ei lyncu.

Achosodd yr amgylchiad lawer o siarad yn y Dreflan. Pan ddaeth Tom a'i fam gartref ar ol iddynt gladdu Mrs. Gilt, ac wedi iddynt wneyd ymchwiliad manwl i'r holl amgylchiadau, cawsant allan nid yn unig na adawodd Jeremiah un geiniog ar ol, ond fod ei holl dai wedi eu gwystlo ymron i'w llawn werth, a'i fod hefyd mewn rhai cannoedd o bunnau o ddyled. Ni chafwyd allan pa beth a gymhellodd Jeremiah i roddi ei dŷ ar dân; ond y gred gyffredin oedd fod Jenkins, o herwydd ei fod mewn amgylchiadau cyfyng, wedi meddwl sicrhâu arian yr yswiriant, a'i fod wedi cuddio ei hun yn yr ardd er mwyn gweled a fuasai ei gynllun yn llwyddo.

Credai Tom ei fab yn wahanol; a dywedai ef mai cynnwys y llythyr a anfonodd efe at ei dad oedd wedi ei gynddeiriogi. Yn y llythyr hwn dywedasai Tom wrth ei dad fod ei fodryb, Mrs. Gilt, wedi marw, a'i bod wedi gadael ei holl eiddo iddo ef, sef i Tom. Dysgwyliai Jeremiah i Mrs. Gilt wneyd ei heiddo i Mrs. Jenkins, ac felly y buasai yn rhinweddol yn dyfod yn eiddo iddo ef; ond yr oedd Mrs. Gilt yn ei adnabod yn rhy dda i wneyd hyny. Er nad oedd arwyddion fod Tom na'i fam yn gofidio am i Jeremiah ddianc, yr oedd y gwarth yr oedd efe wedi ei ddwyn arnynt yn eu blino yn fawr; ac o dan yr amgylchiadau nid allent feddwl am aros yn y Dreflan. Ceisiodd Mr. Pugh ei oreu eu perswadio nad oedd neb yn meddwl yn llai o honynt hwy o herwydd drygioni eu perthynas agosaf; ond ni fynent wrandaw. Talodd Tom

holl ddyled ei dad, a throsglwyddodd y tai yn Muarth Jenkins i'r boneddwr oedd yn dal y gwystl arnynt; ond gwnaeth ddarpariaeth na ofynid rhent oddiar Siân Jones tra fyddai yr hen wreigan fyw. Sicrheid hefyd fod Tom wedi ymddwyn yn dda tuag at Mike, a'i fod wedi tynu i lawr gryn lawer o'r "*national dit.*" Pan yr oedd Tom a'i fam yn ymadael â'r Dreflan, daeth amryw gyfeillion i'w hebrwng at yr orsaf; ac yn eu plith yr oedd Mr. Pugh yn ben gŵr, ac yn ysgwyd dwylaw gyda Tom a'i fam lawer gwaith drosodd. Ond yr hyn a barodd i galon Tom neidio i'w wddf, ac a ddygodd ymaith ei holl barabl, ydoedd bendith Siân Jones a'r eiddo Mike y Gwyddel, er i'r olaf gysylltu gyda'i fendith enw Mair Forwyn.

Os dygwydd i'r darllenydd yn ystod yr haf presennol fyned i dref neillduol ar làn y môr yn Nghymru, gall weled Tom yn cymeryd ei fam allan mewn cerbyd parchus; ac os dygwydd iddo ymorol yn ei gylch, caiff allan fod Tom yn cael ei anrhydeddu gan bawb, yn enwedig gan y tlodion.

---

## PENNOD XXI.

### YR YMWELIAD OLAF A BENJAMIN PRYS.

MAE lle i ofni mai yr amgylchiad ag y mae y canlyniadau pwysicaf yn perthyn iddo, a'r hwn sydd yn llawn o ddyddordeb iasol i ddyn, sef marwolaeth, ydyw yr amgylchiad, wedi'r cwbl, sydd yn cael lleiaf o'i ystyriaeth ddifrifol hyd nes y daw i'w afaelion. A phan erys y meddwl uwch ei ben yn awr ac yn y man, y mae yn gwneyd hyny, nid oddiar hoffder ato, ond oddiar ei ofn. Nis gall nad ydyw angeu, hyd yn nôd i'r ammheuwr, yr amgylchiad mwyaf ei bwys yn ei hanes; oblegid ato ef yr edrycha am gadarnhâd neu ynte wadiad bythol i'w gredo.

Felly hefyd i'r credadyn, mae angeu yn llawn o ddyddordeb, os priodol y gair; oblegid y pryd hwnw y caiff ei dynged dragywyddol ei phenderfynu, ac y dysgwylir cael goleuni ar fil a mwy o bethau y bu yn petruso yn eu cylch. Yn gymaint a bod marwolaeth fel hyn yr amgylchiad mwyaf i bawb fel eu gilydd, pa fodd y cyfrifir ei fod yn cael can lleied o le yn myfyrdodau dyn? Onid ellir dyweyd fod dyn yn trafferthu mwy ynghylch amgylchiadau cyffredin bywyd, megys galwedigaeth, neu briodas, nag ynghylch ei farwolaeth? Onid ydyw ambell un wedi meddwl a phryderu mwy ynghylch ei fynediad posibl i'r America nag am ei fynediad sicr i dragwyddoldeb? Onid ydyw yr awydd am gynauaf da neu fasnach lwyddiannus, neu ofn methiant a thlodi, wedi cael mwy o le yn myfyrdodau y rhan fwyaf o honom na thragywyddol wynfyd neu wae? Dilys fod rhyw reswm i'w roddi am hyn, pa un bynag a allwn ni ei gael allan ai peidio.

Pa beth bynag fyddo sefyllfa dyn yn y byd, y mae wedi ei amgylchu bron yn ddïeithriad â gwrthddrychau wrth ba rai y mae ei serchiadau wedi ymgylymu. Y mae perthynasau, cyfeillion, eiddo, ac arferion, wedi meddiannu ei enaid, ac wedi myned yn rhan o hono. Mae ynddo ymlyniad hyd yn nôd wrth wrthddrychau difywyd. Nis gall feddwl am farw heb ar yr un pryd feddwl am dori y cysylltiad â'r pethau hoffaf a gwerthfawrocaf ganddo; a pha ryfedd os ydyw hyn yn anhyfryd i'w deimlad? Nis gall beidio teimlo oddiwrth "orthrwm y presennol," a hoff ganddo ydyw edrych ar bethau y byd a'r bywyd hwn fel pethau sylweddol a gwirioneddol; ac wrth edrych arnynt felly yn unig y gall eu llawn fwynhâu. Diau fod amryw o fy narllenwyr wedi bod ar un adeg mewn sefyllfa pan dybient eu bod yn marw, a phan oedd eu holl fyd wedi ei grynhoi rhwng pedwar post eu gwely; mor fychan ac ansylweddol yr ymddangosai pobpeth y byd a'r bywyd hwn o'u cymharu â'r hyn a ofnent oedd yn eu hymyl, ac fel yr oeddynt yn synu eu bod wedi bod mor ynfyd â rhoi cymaint o'u sylw ar bethau mor wael! Ond wedi i'r afiechyd eu gadael, ac iddynt hwythau gryfhâu, rhyfedd fel yr oedd

yr un pethau yn adfeddiannu eu hen safle yn eu meddyliau! Nid ydyw yn ddichonadwy i ddyn lawn fwynhâu pethau y byd hwn, ac ar yr un pryd edrych arnynt fel yr oedd yn edrych o lỳn cysgod angeu. Hoff gan ddyn hefyd, hyd y mae yn bosibl, feddwl yn dda am dano ei hun; ond nis gall fyfyrio ar ei ddiwedd heb syrthio yn ei olwg ei hun, a dyfod i ystyried i ryw raddau pa mor anghymhwys ydyw i wynebu yr amgylchiad. Drachefn, er i ddyn fod yn credu mewn anfarwoldeb, nis gall beidio cysylltu âg angeu y syniad am derfyniad ar yr unig ffurf o fodolaeth y gŵyr ef am dani yn brofiadol, i'r hwn syniad y mae ynddo wrthwynebiad greddfol. Heblaw fod ynom wrthwynebiad cryf i fyfyrio ar angeu, onid edrychir arno hefyd fel rhywbeth pell yn y dyfodol, ac felly heb fod anghenrheidrwydd penodol am ei gymeryd i'n hystyriaeth? Anaml y cyfarfyddir â neb, gan nad pa mor hen ydyw, nad yw yn meddwl byw yn hŵy, ac yn edrych ar angeu ymron yn yr un pellder oddiwrtho ag erioed! Mae dyeithrwch arswydus marwolaeth, a'r ffaith nad ydyw yr holl farwolaethau sydd wedi cymeryd lle wedi taflu dim goleuni arno, nac wedi ychwanegu dim at brofiad dyn erbyn y daw i'r amgylchiad ei hun, yn dwyn ei anadl oddiarno, ac yn peri i'w galon grebachu gan ddychryn wrth feddwl am ei iâs. Pan ychwanegom at hyn yr ymwybyddiaeth sydd mewn dyn fod cysylltiad dwfn ac annattodol rhwng holl bethau annymunol marwolaeth â phechod, nid ydyw yn rhyfedd fod y meddwl yn cilio oddiwrtho mewn arswyd, yn enwedig tra mae pethau eraill hyfrydach yn ei ymyl. Y fath orchwyliaeth rinweddol y rhaid i'r meddwl hwnw fod wedi myned drwyddi, yr hwn a all edrych ar angeu gyda thawelwch, ac hyd yn nôd ei groesawu! Er nad ydyw pob cristion yn ei chyrhaedd, nid oes ond crefydd yr efengyl a all ddwyn dyn i'r sefyllfa hon.

Yr oedd fy hen gyfaill Benjamin Prys yn engraifft nodedig o'r hyn a all myfyrdod gwastadol yn yr Ysgrythyrau, a hollol ymddibyniad ar anrhydedd a thrugaredd Duw yn ei Fab, ei effeithio ar brofiad dyn wrth wynebu

ar angeu a'r byd tragywyddol. Dichon fod ei fywyd pechadurus yn ei ieuenctyd, a'i dröedigaeth hynod, ynghyd a'i afiechyd maith yn mlynyddau olaf ei oes, wedi bod yn fanteisiol i ddwyn hyn oddiamgylch. Fel yr hysbyswyd y darllenydd eisoes, yr oedd yn amlwg iawn fod yr hen bererin yn nesâu yn gyflym, er yn dawel, i'r afon. Gan ei fod ef a minnau yn gyfeillion lled fawr, a fy mod yn cael cyfleusdra i'w weled yn fynych, y mae ei ymddyddanion wedi gadael argraff ddyfnach ar fy meddwl na'r holl bregethau a glywais yn fy oes. Ar yr un pryd, y mae yr argraff yn un o'r rhai hyny nad ellir eu cyfleu i eraill ond yn anmherffaith iawn. Yr oedd Benjamin Prys, fel y dywedwyd o'r blaen, yn ŵr o gynneddfau cryfion, ond heb dderbyn dim manteision addysg; a'r unig goethder a berthynai iddo ydoedd coethder sancteiddrwydd a hunan-ddiwylliant. Yr oedd rhai o'r pethau goreu a ddywedai ar brydiau wedi eu gwisgo mewn Cymraeg gref a gafaelgar, ond a ystyrid, o bosibl, gan yr oes fursenaidd hon yn aflednais. Yr oedd bellach wedi ei gaethiwo i'r gwely o'r hwn nid oedd i gyfodi; ond er syndod i bawb o'i chyfeillion, nid oedd Becca Prys eto yn meddwl ei fod yn ymyl marw; a phan soniai ef am ei gadael, yr hyn a wnai yn fynych yn awr, yr oedd ei ymddygiad, yn meddwl syml Becca, yn angharedig. Ymddangosai ei ymadawiad iddi hi yn fwy fel amgylchiad o'i ddewisiad ef ei hun nag fel yr hyn oedd anocheladwy. Serch hyny, nid oedd ball ar ei gwasanaeth iddo; a bûm yn rhyfeddu lawer gwaith ar ol hyn pa fodd yr oedd nerth y wraig dda yn dal i gyflawni yr holl waith oedd yn myned drwyddo bob dydd. Yr oedd ei llafur gyda'r pobty yn anhygoel; cadwai y tŷ càn laned a chàn daclused â phin mewn papyr, chwedl Mr. Pugh; a cherddai i fyny ac i lawr y grisiau ugeiniau o weithiau yn ystod y diwrnod. Byddai yn hanner nos, yn amlach nag fel arall arni, yn cael myned i orphwyso, a hyny pan fyddai "gan stiffied a darn o bren," fel y dywedai; ac oherwydd nychdod mawr ei phriod, byddai raid iddi gyfodi amryw weithiau yn ystod y nos i weini arno. Rhwng chwech a

saith yn y bore byddai Becca drachefn yn ail ddechre ar ei bywyd caled, ac felly bob dydd. Son a wnawn ni am *heroism!* mae mwy o wir wroniaeth i'w gael yn fynych yn ystafell y claf, ac yn nghylchoedd cyffredin bywyd, nag ar faes y gwaed; ond o herwydd ei fod yn cael ei gyflawni bob dydd, ni seinir ei glodydd mewn udgorn. Chwi wrageddos moethus, sydd yn dreng-glwcian ar eich esmwythfeinciau clustogaidd o herwydd eich mân anffodion, ni wyddoch mo'ch geni eto o'ch cymharu âg ambell wreigan a adawyd yn weddw gyda llon'd tŷ o blant bach, heb yr un geiniog at eu cynnaliaeth, neu â Becca Prys, yr hon oedd raid iddi ymladd am fywioliaeth iddi hi a'i hybarch briod. Rhaid addef y byddai Becca hithau yn grwgnach nid ychydig; ond gwnelai hyny oddiar arferiad ac nid oddiar anfoddogrwydd. Cwynai yn fynych, yn enwedig gyda'r nos, ei bod "*just* yn methu symud," ac eto elai i fyny ac i lawr y grisiau laweroedd o weithiau o ewyllys ei chalon i weini ar Benjamin, hyd yn nôd pan grefai efe ar iddi beidio.

Er nad oedd yr hen ŵr, fel y dywedai ef ei hun, "yn dda i ddim" bellach, yr oedd yn berffaith ystyriol o'r afael a feddai Becca ynddo, a'i gwrthwynebiad di-ildio i ddygymmod â'r meddwl iddo farw. Gwyddwn yr achosai hyn fwy o bryder iddo nag ydoedd gwynebu angeu ei hun; a diammheu mai er mwyn ei chymmodi ychydig â'r orchwyliaeth y soniai efe gymaint wrthi am ei ymadawiad. Ond yr oedd ei lafur i gyd yn ofer. Taerai Becca ei bod wedi ei weled yn llawer gwaelach, a'i fod wedi dyfod drwy lawer bwlch mwy cyfyng. Druan oedd Becca! dyweyd yr ydoedd yr hyn a ddymunai.

O herwydd rhyw amgylchiadau, yr oeddwn heb weled Benjamin er ys rhai dyddiau; ac un noswaith cefais air oddiwrtho y byddai raid i mi frysio. Aethum yno yn ddiatreg. Deallais oddiwrth wyneb Becca fod cyfnewidiad wedi cymeryd lle, a'i bod hithau o'r diwedd wedi ei hargyhoeddi fod cyfyngder yn agos. Càn gynted ag yr agorodd y drws i mi fyned i'r tŷ, claddodd ei hwyneb yn ei ffedog, gan sobian yn dost; ac am beth amser nid allai

ddyweyd un gair. Wedi iddi ymdawelu ychydig, arweiniodd fi i'r llofft; ac ar y grisiau dywedodd wrthyf yn ddystaw, "Mae hwnyma wedi altro yn arw er neithiwr." Lledeisteddai Benjamin yn ei wely gydag amryw obenyddiau wrth ei gefn; ac wrth ochr y gwely, eisteddai ei gyfaill penaf, cyfaill na throdd ei gefn arno erioed, sef Mr. Pugh. Edrychai Mr. Pugh yn brudd a digalon, ond yr oedd Benjamin yn siriol a hapus. Yr oedd rhywbeth, er hyny, mor ddyeithr yn ei wyneb a barai iddo ymddangos i mi ymhellach oddiwrthyf o lawer nag arferol; a phan ysgydwodd ddwylaw â mi, teimlwn fel pe buasai yn gwneyd hyny â llaw rhywun arall, gan mor annhebyg ydoedd iddo ef ei hun.

"Bu agos i ti ag aros yn rhy hir, 'y machgen i. Mi fu *just* i mi a slipio i ffwrdd heb i ti fy ngweled," oeddynt y geiriau cyntaf a ddywedodd wrthyf.

"Yr ydych yn edrych yn rhy dda i fyned yn fuan," atebais.

"Na," ebe fe, "mae yr hen elyn yma, wel di: mae o yn dechre ar ei waith yn fy nhraed, ac ni fydd yn hir heb wneyd ei neges. Yr oeddwn yn adrodd wrth Mr. Pugh fy mod wedi meddwl yn siwr fy mod yn myn'd i'ch gadael neithiwyr. Daeth rhywbeth rhyfedd drosta i—nid fel llesmair—mi wn yn dda beth ydyw hwnw, ond fel gwynt cryf heb sŵn yn ei ganlyn, yn fy ngyru yn fy mlaen, a rhywbeth yn fy sugno i rywle na wyddwn i ba le, ac nad allwn ei wrthsefyll. Gwneis egni rhyfeddol yn ei erbyn, ond i ddim dyben; ac o'r diwedd ymollyngais i gael fy nghario i ffwrdd, a chollais fy ymwybyddiaeth, am ba hyd nis gwn; ond y peth cyntaf yr wyf yn gofio ar ol hyny ydyw clywed Becca yn crefu arnaf i gymeryd llymaid. Meddyliais yn siwr fy mod yn marw, gan fel yr oedd y teimlad mor ddyeithr; ond *notice to quit* oedd o."

"Ddaru ch'i ddychrynu, Benjamin?" gofynai Mr. Pugh.

"Naddo, Mr. Pugh; 'doedd o ddim ods gen' i; ond chysgais i ddim ar ol hyny. Mi eis i feddwl i ba le, tybed, y buasai y gwynt, neu beth bynag ydoedd, yn fy nghario pe buasai wedi cael ei ffordd. Y lle cyntaf yr aeth fy

meddwl iddo oedd uffern. Ni bum erioed am gyhyd o amser hefo'i gilydd yn y lle hwnw ag y bum neithiwr, ac yr wyf yn dysgwyl na byddaf byth eto. Lle garw sydd yno, Mr. Pugh. Byddaf yn meddwl nad oes olygfa fwy prudd i'w chael ar y ddaear na gweled hen ŵr boneddig o deulu uchel wedi myned yn dlawd a charpiog. Ond beth ydyw hyny pan feddyliom am hen foneddigion y nef wedi syrthio i dlodi erchyll y pwll diwaelod! Druain oeddan nhw! Wyddoch ch'i beth, Mr. Pugh, yr oedd gen i flys mawr gweddïo drostyn' nhw wrth feddwl am danynt neithiwr A'r fath gwmpeini sydd yno: llofruddion, lladron, celwyddwyr, meddwon, a rhai wedi twyllo eu hunain! Gwarchod ni! mae yn werth i ddyn ymdrechu am oes faith rhag myned at y fath haid. Meddyliwch hefyd am eu cyflwr—wedi caledu mewn anufudd-dod, ac yn druenus byth, mewn gwlad heb na llawenydd na chysur na son am efengyl o'i mewn. Wyddoch ch'i beth ddaeth i'm meddwl i, Mr. Pugh? Tipyn o ynfydrwydd oedd o, mi feddyliwn. Dyma fo: y buaswn yn dymuno pe buasai y Brenin mawr yn dyweyd wrthyf, 'Benjamin, yr wyf yn rhoddi gorchymyn i ti fyned i'r lle ofnadwy yna am yspaid, i gyhoeddi iachawdwriaeth a maddeuant pechodau i'r creaduriad truenus yna, ar yr ammod iddynt edifarhâu a chredu yn fy Mab?' *Dear me*, oni fuasai hi yn neges ardderchog, Mr. Pugh? A fuasent yn credu, feddyliech ch'i? Ond rhyw feddwl gwirion oedd o. Cosbedigaeth dragywyddol ydyw hi, onidê? Druain ydyn' nhw hefyd! Ond hyn oeddwn i yn myn'd i ddyweyd: mi welais mai nid i uffern yr oeddwn i gael fy ngyru, er mai hyny oedd fy haeddiant. Yr oeddwn i yn teimlo nad oedd gen' i ddim cyfathrach â neb oedd yno. A phe buaswn i wedi cael fy rhoi yno, yr wyf yn ammheu yn fawr a fuaswn yn gallu dal fy nhafod heb ddywedyd rhywbeth am y Prynwr at y fenter wrth y creaduriaid druain."

"I b'le yr aeth ych meddwl ch'i wed'yn, Benjamin?" gofynai Mr Pugh.

"I b'le ddyliech ch'i, Mr. Pugh, ond i'r cartref tragywyddol? 'Roedd genyf gryn ofn hefyd myn'd yno wrth

feddwl am sancteiddrwydd y lle; ac oni bae fod genyf *leisens* gan y Gŵr sydd yn Frenin ar y wlad, ni buaswn yn mentro. Bobl anwyl! dyna lle mae teulu *noble*, Mr. Pugh! y patrïarchiaid a'r prophwydi, a'r apostolion, Mr. Elias, y ddau Richards, Mr. Rees, a fy hen ffrynd Mr. Williams, a channoedd eraill o fy hen gydnabod, yn moli yr Hwn y clywais i hwynt yn ei bregethu ddwsinau o weithiau! Yr oeddwn i yn fy elfen yno mewn mynyd. Dyma fy nghartre' i, meddwn; croeso, angeu, gwna dy waith yrwan."

"Benjamin," ebe Mr. Pugh, "mi faswn yn rhoi llawer am fod yr un fath a ch'i. Sut y daru ch'i ennill y profiad uchel yma?"

"Ei gael o a ddarfu i mi, Mr. Pugh, wrth gredu y dystiolaeth. Mr. Williams, fel y bum yn adrodd wrthych, a'm harweiniodd i at y Gŵr pan oeddwn ymron dyrysu yn fy synwyrau o herwydd fy mhechodau. Do, Mr. Pugh, mi bechais i mewn blwyddyn fwy nag a ddarfu i chwi yn ystod eich oes; ond arweiniodd Mr. Williams fi at y Gŵr sydd yn maddeu anwiredd a chamwedd a phechod mor wirioneddol ag yr arweiniwyd yr eunuch gan Philip. Yr wyf yn gallu gogoneddu Duw ynddo ef. Agorodd i mi yr Ysgrythyrau, yn y rhai y cefais ollyngdod. Nid ydyw marw yn ddim, Mr. Pugh, i'r hwn sydd yn credu. Yr ydych yn cofio fel yr oedd y Gwaredwr yn ofni marw nes oedd ei chwys yn ddafnau gwaedlyd. Yr wyf fi wedi colli ofn marw yn yr ofn hwnw. A phaham y rhaid i mi ofni, gan ei fod Ef wedi talu y ddyled? Onid ydyw Ef wedi dileu yr ysgrifenlaw oedd yn fy erbyn i? Mae y dystiolaeth yn dyweyd hyny, ac yr wyf finnau yn ei chredu ac yn ei derbyn yn ddiolchgar. Bendigedig fyddo ei enw byth bythoedd!"

"Amen," ebe Mr. Pugh gyda theimlad mawr.

Aeth Benjamin ymlaen yn y ffordd hon am amser; yna dechreuodd ddyfynu adnodau—ei hen gwmpeini, fel y galwai efe hwynt, y rhai oeddynt yn awr yn dyfod i'w ddanfon i ben ei siwrnai. Siaradai mor rhwydd a diboen fel y credai Mr. Pugh ei fod yn llawer gwell nag y buasai

er ys amser. Ond pan oeddym yn ffarwelio âg ef, edrychodd arnom yn galed, a gwasgodd ein dwylaw yn dyn. Pan oeddym yn myned ymaith, gofynodd Becca,

"Mr. Pugh, 'roedd hwnyma yn dyweyd pethe rhyfedd arw neithiwr; ydach chi'n meddwl fod o'n *ramblo?*"

"*Ramblo!*" ebe Mr. Pugh, "ydi, mae o yn *ramblo* yn union yr un fath ag yr oedd Paul yn *ramblo* o flaen Ffestus. Os dene be ydi *ramblo*, gybeithio'r anwyl y bydda' inne yn *ramblo*. Nos dawch, Becca bach."

Aethum i edrych am Benjamin yn fore drannoeth. Pan neseäis at y tŷ, deallais oddiwrth y gorchudd oedd yn cuddio yr holl ffenestri fod yr anwyl hen frawd a thad wedi myned i ffordd. Yr oedd Becca am y tro cyntaf i mi ei gweled, yn segur, ac yn eistedd yn llonydd wrth y pentan, gan edrych yn syn i'r tân. Yr oedd y pobtŷ am y tro cyntaf er ys blynyddau, oddigerth ar y Sabbothau, heb ei dwymno. Yr oedd Bella Barlow, y wraig a fyddai yn arfer "diweddu" pobl, yn cerdded yn ol ac ymlaen yn ddystaw ar hyd y tŷ, ac yn myned i fyny ac i lawr y grisiau fel pe buasai yn cerdded yn nhraed ei hosanau, ac yn sisial pob gair a ddywedai. Ymddangosai Becca i mi fel pe buasai mewn breuddwyd. Am y tro cyntaf nid oedd hi yn cwyno nac yn wylo, ac o'r braidd y gallwn feddwl ei bod wedi sylweddoli yr hyn a gymerasai le. Yn yr ymddyddan fu rhyngof â hi, rhoddodd ar ddeall i mi na chymerodd nemawr gyfnewidiad le yn Benjamin cyn iddo farw. Rywbryd rhwng tri a phedwar yn y bore gofynodd yn sydyn, "Becca, ddaru ch'i dalu am y blawd?" "Do, Benjamin," ebe hithau. "Purion," ebe ef, "mae pobpeth wedi ei dalu yrŵan—mae y ddyled fawr wedi ei thalu er ys blynyddau;" a gogwyddodd ei ben, a bu farw.

Yn y cyfnod rhwng y diwrnod y bu Benjamin farw â'r dydd y claddwyd ef, soniai Becca am dano wrth yr enw "hwnyma;" ond wedi ei gladdu cyfeiriai ato yn ddïeithriad fel "hwnacw," gan gyfodi ei llygaid i'r nef. Tra yr oedd Noah Rees yn agor y Bibl i ddarllen pennod cyn cychwyn yr angladd, a thra dodid corff Benjamin Prŷs ar

ddwy gader o flaen drws y tŷ, tarawyd pawb â syndod gan brydferthwch ei arch gostfawr. Rhyfeddai pawb sut y gallodd Becca fforddio. Claddwyd ef yn ol ei ddymuniad wrth ochr Mr. Williams. Ymhen ychydig wythnosau, tarawyd pawb â syndod mwy wrth weled uwch ben ei fedd gofadail hardd a gwerthfawr. Ond ni chostiodd yr arch na'r gofadail geiniog i Becca; oblegid yr oedd cyfaill wedi dyweyd wrth Benjamin Prŷs, tra yr oedd efe eto yn fyw, "Benjamin, os byddwch ch'i farw o'm mlaen i, mi ofala i y cewch ch'i arch dda, a chareg barchus ar eich bedd, can wired a mod i yn y fan yma."

## PENNOD XXII.

### MISS PUGH.

AETH misoedd heibio. Blinodd pobl yn siarad am Jeremiah Jenkins a'i waith yn gosod ei dŷ ar dân; ac anaml yn awr y sonid am ei enw oddigerth gan Syr Ned yn y *Three Pigeons*, pan fyddai yn myned dros yr holl wrhydri yr oedd efe wedi gyflawni yn ystod ei oes. Cneifiodd rhywun arall gynffon ei gi ar ol Jeremiah gan roddi testun newydd i bobl y Dreflan chwedleua yn ei gylch. Tyfodd glaswellt ar fedd Benjamin Prys, er na thyfodd glaswellt na danadl ar hiraeth Becca ar ei ol, yr hon a barhäi, er gwaethaf Mr. Smart, i roddi arian ar lyfr yr eglwys "dros hwnacw." Yn ystod y misoedd y bu Benjamin yn analluog i fyned i'r capel, yr oedd ei gader o dan y pulpud yn wag; ond wedi iddo ef farw eisteddai Mr. Smart ynddi, er ei fod bob amser yn dyweyd, fel yr oedd Mr. Bevan yn gwybod, mai Mr. Bevan a ddylasai ei llenwi.

Gyda golwg ar Jim Price, ymddangosai fod y Cartrefle yn dygymmod yn dda âg ef; oblegid cyn iddo hanner

gwisgo y *suit* o ddillad, byddai wedi tyfu allan o honi; ac nid oedd dim yn boddio cymaint ar Mr. Pugh â gweled côb Jim yn gwrthod botymu. Byddai William Jones wrthi yn feunyddiol naill ai yn altro dillad Jim, neu ynte yn ei fesur am rai newyddion. Ac yr oedd yr hogyn yn haeddu hyn; canys yn ol tystiolaeth Mr. Pugh ei hun, ni bu gwell bachgen yn gwisgo esgid erioed. Clywais yr hen foneddwr lawer gwaith yn dyweyd y buasai yn *backio* Jim yn erbyn unrhyw fachgen yn y sîr o'i oed am neidio, rhedeg, marchogaeth, darllen, ysgrifenu, adrodd pennod allan, neu ynte am fwyta cinio da, yn enwedig y peth olaf, yr hyn oedd bwnc pwysig yn nghredo Mr. Pugh; oblegid mynych y dywedai, "Weles i 'rioed lawer o ddaioni o neb os na fedre fo 'neyd cinio *hearty*." Eisteddai Jim yn yr un sedd â'r teulu yn y capel; eisteddai wrth yr un bwrdd i fwyta pob pryd; ac yr oedd ei ysbryd bywiog ac ieuengaidd, ei atebion parod a ffraeth, wedi dyfod yn rhan anhebgorol o gysur teulu y Cartrefle. Perchenogai Jim fesur o gyfrwysdra; eithr nid i hyny, yn sicr, y gellid priodoli ei gynnydd a'i lwyddiant yn ffafr y teulu. Y diwrnod cyntaf y gwelodd Miss Pugh ef yn ei garpiau a'i fudreddi, yr oedd hi, gyda'i chraffder arferol i adnabod cymeriadau, yn gweled yn ei lygaid dysglaer, a'i wyneb gonest, wrthddrych gwerth ei achub o drobwll trueni a llygredigaeth. A oedd y peth yn bosibl? A allai hi trwy garedigrwydd ac ymröad roddi cyfeiriad newydd i'w fywyd? A allai hi ei wneyd yn gyfryw ag a fuasai yn llenwi y gwagle oedd yn mynwes ei thad, a lliniaru ychydig ar ei ofid a'i brudd-der pan fyddai y gwynt yn chwythu, a'r eira yn disgyn yn drwm ar hirnos auaf, a phan y gwyddai fod ei feddyliau yn crwydro ymhell ar ol yr afradlawn? Parodd y drychfeddwl i'w chalon ddychlamu. Ennynodd tân ynddi a oddeithiodd ei holl amcanion, ac a gadwyd yn fyw o'r diwrnod hwnw allan gan rym penderfyniad a chariad angerddol at ei thad. Fel y sylwyd o'r blaen, yr oedd yn Miss Pugh gyfuniad prydferth o synwyr cryf a choethder ei mam, gyda charedigrwydd ac unplygrwydd ei thad, a'r cyfan wedi ei berffeithio gan addysg dda, duwiolfrydedd

dwfn, a chasineb naturiol at bob rhodres a gwagymddangosiad. Yr oedd y dasg yn fawr, ond ymgymerodd â hi â'i holl enaid. Safai Jim o'i blaen yn symlrwydd ei galon —yn ddiddysg ac anwybodus. Perthynai iddo rai arferion drwg, a mesur o gyfrwysdra, fel y dywedwyd, yr hwn a genedlwyd ynddo gan gyfyngder a thlodi. Eithr nid oedd yn ei ysbryd falais na thwyll. Fel ei wallt crych, yn hwn a chwareuai yn ddiofal ar ei arleisiau, felly yr oedd ei galon ieuanc a diniwed. Credai Miss Pugh, fel y gwnai ei thad, yn ddiderfyn mewn tiriondeb; a phenderfynodd yn gyntaf oll doddi Jim yn ffwrnes eirias caredigrwydd, ac yna gosod ei delw arno. Yn yr anturiaeth yr oedd ganddi un fantais: yr oedd Jim càn iached a'r clai, ac yn nodedig o brydferth. Buasai unrhyw ferch yn cymeryd ato pan fyddai efe wedi ymolchi yn lân, ac wedi ymwisgo yn drwsiadus. Serch hyny, costiodd i'r foneddiges lawer o amynedd a llafur i'w ddiddyfnu oddiwrth eiriau ac arferion nad oeddynt yn weddus; ond talwyd iddi am yr holl lafur gan y ffrwyth toreithiog a'i dilynodd.

Fel yr awgrymwyd, hi a ymgymerodd â'r gwaith ar y dechre yn benaf gyda'r amcan o ychwanegu at ddedwyddwch ei thad; ond yn fuan iawn daeth y gwaith ei hun yn ystorfa lawn o bleser a dedwyddwch iddi na buasai yn ymadael âg ef am unrhyw bris. Ni byddai Miss Pugh byth yn son wrth Jim am ei sefyllfa isel a'i dlodi blaenorol; yn hytrach galwai ef yn "frawd bach," a chymerai arni wneyd *confidant* o hono, gan sibrwd yn ei glust ryw gyfrinach yr oedd efe i'w chadw yn ddirgelwch oddiwrth bawb, yr hyn a wnai Jim i'r llythyren. Yn ei ffordd dawel a diymhongar, ymddygai y ferch ieuanc tuag ato bob amser yn yr un ysbryd, gan achub pob cyfleusdra i ddefnynu i'w feddwl a'i galon brydferthwch gwirionedd a daioni, a rhagoroldeb gwybodaeth. Pan adroddai hi iddo hanesyn o'r Bibl, neu o ryw lyfr arall, agorai Jim ei lygaid mawr duon mewn syndod; ac er ei fod yn llyncu pob gair a ddywedai hi, gwnai hyny heb gymeryd ei wynt. Ar adegau teimlai Miss Pugh yn lluddedig ar ol bod yn llafurio gyda Jim, a gofynai iddo weithiau mewn ysmaldod

pa bryd yr oedd efe yn bwriadu talu cyflog i'w *governess.* Mewn atebiad, gofynai Jim iddi hithau pa bryd yr oedd hi yn bwriadu talu iddo ef am ei dysgu "sut i fendio'r 'deryn." Ië, hyn oedd yr unig beth y gallodd Jim ei ddysgu i Miss Pugh; ac yr oedd efe yn teimlo yn falch o hono. Wedi ei fagu, fel y gellir dyweyd, yn nghanol *cages* a phob math o adar, gwyddai bobpeth ymron yn eu cylch. Os byddai anhwyldeb ar yr aderyn, gwyddai Jim pa sawl blewyn o *saffron* i'w roddi yn ei ddwfr—y cyfartaledd llesol o'r *hemp* a'r *canary seed*—pa bryd i roddi dail dant-y-llew a bresych iddo, a pha bryd i beidio; pa fodd i'w gynnorthwyo i fwrw ei blyf, a pha fodd i dynu braw o hono pan fyddai y gath wedi gwneyd cais aflwyddiannus am ei fywyd. Clywais Miss Pugh yn dyweyd fod ei brofiad yn y pethau hyn yn anmhrisiadwy. Ni byddai y foneddiges byth yn ceryddu Jim yn yr ystyr lythyrenol o'r gair, ac eto yr oedd yn hollol dan ei llywodraeth ac wrth ei hewyllys. Protestiai yr hogyn wrthyf y buasai yn well ganddo gael curfa bedair gwaith drosodd gan ei dad yn hytrach nag i Miss Pugh edrych yn ddig arno.

Er fod ei gwg y peth oedd Jim yn ei ofni fwyaf, byddai yr anffawd hon ar adegau yn disgyn i'w ran. Un tro (buasai y dygwyddiad hwn yn rhy syml i'w adrodd oni bae ei fod yn gwasanaethu i ddangos y teimlad da a ffynai rhwng y ddau, ac hefyd fod a fyno y dygwyddiad rywbeth â'n hanes)—un tro gorchymynodd Mr. Pugh i Jim gymeryd y ferlen allan am *exercise.* "Y gorchymyn esmwyth hwn" a groesawid bob amser gan Jim. Aeth oriau heibio, ac nid oedd argoel am ddychweliad Jim, a dechreuodd Miss Pugh fod yn bryderus yn ei gylch; ond dywedai Mr. Pugh, "Mi wranta i y bydd Jim yma erbyn swper." Amser swper a ddaeth, a dim son am Jim, a dechreuodd hyd yn nod Mr. Pugh edrych ar ei oriawr. Aeth awr arall heibio, ac ymdaenodd tywyllwch y nos, ac eto nid oedd arwydd am ddyfodiad Jim. Yr oedd Miss Pugh bron llesmeirio, ac nis gallai ei mam guddio ei hanesmwythder yn hŵy, a dywedodd, "Pitar, mae rhywbeth wedi dygwydd i'r bachgen druan, yn siwr i

ch'i; ewch a chodwch rywun i fyn'd i ymorol am dano." Aeth Mr. Pugh i'r drws i wrandaw, a dychwelodd yn y fynyd a dywedodd, "Ho, ho, mae Jim yn dwad i ch'i fel y fellten." Y fynyd nesaf yr oedd y march a'i farchog yn y buarth, a'r blaenaf yn furym o chwys, yr hyn a barodd i Bob y gwas fyned i'w esgidiau, fel y dywedir. Adroddodd Jim ei hanes yn gynhyrfus, fel yr oedd wedi myned mor bell nas gwyddai pa le yr oedd efe, fel yr oedd y nos wedi ei ddal, ac fel yr oedd wedi gyru mor gyflym gartref fel nas gallai yr un lleidr ei ddal, yr hyn oll a wrandawai Mr. Pugh gyda'r dyddordeb mwyaf, gan alw am fwyd i'r bachgen. Pan osodwyd ymborth o flaen Jim, gwelodd fod gwg ar wyneb Miss Pugh, ac yr oedd hyny yn ddigon o swper iddo; nis gallai lyncu tamaid, na dyweyd dim ychwaneg o'i hanes. Gan gymeryd arno ei fod wedi blino, cyfododd i fyned i'w wely, ac wrth ysgwyd dwylaw â'i feistres ieuanc ni ddarfu iddi ddyweyd dim wrtho, na phrin edrych arno. Wedi iddo adael yr ystafell, dywedodd y ferch, "Nhad, dylasech roddi cerydd i Jim am wneyd fel hyn heno."

"Lol i gyd, Kit," ebe Mr. Pugh; "rown i 'run ffig am fachgen heb dipyn o ysbryd ynddo fo. Lol i gyd; wnaeth y bachgen ddim drwg. A pheth arall, feder neb arall 'neyd i'r hen ferlen ene chwysu ond y fo."

Ni soniwyd gair am y peth wedi hyn. Pan oedd Miss Pugh yn myned i'w hystafell y noson hono, paham y gosododd hi ei chlust ar dwll clo ystafell wely Jim, gan wrando yn astud, os nad oedd hi yn gyfeillgar iddo, er ei fod wedi gwneyd ei hoff ferlen yn furym o chwys? Ai dychymygu yr oedd hi ei bod yn clywed Jim yn sobian? Tarawodd yr hen gloc mawr—y cloc wrth yr hwn y cymerodd Jim ei safle pan gyntaf y cyfarfyddodd efe â Mrs. Pugh, a phan drinid ef mor enbyd gan Susan; tarawodd yr hen gloc un ar ddeg, ac yr oedd dau o breswylwyr y Cartrefle heb gau eu llygaid. Tarawodd y cloc ddeuddeg, ac eto nid oeddynt wedi cysgu. Tarawodd y cloc un; a thra yr oedd Miss Pugh yn gwrandaw ar swn hirllaes y gloch yn darfod yn araf deg, clywai rywun yn curo

yn ddystaw ddrws ei hystafell, a gofynodd, "Pwy sydd yna?"

"Jim," oedd yr ateb.

"Beth ydyw'r mater, Jim? Wyt ti yn sâl?"

"Miss Pugh," ebe Jim, "newch ch'i fadde i mi? 'na i byth yru y ferlen fel ene eto."

Heb ddyweyd un gair, neidiodd yr eneth dynergalon o'i gwely, agorodd y drws, ac ysgydwodd law yr hogyn yn wresog, nes yr oedd Jim yn y seithfed nef, ac y dychwelodd ei holl awydd am ymborth y fynyd hono.

"Miss Pugh," ebe ef, "ga i fyn'd i lawr i gael fy swper?"

"Cei, 'y ngwas i," ebe hi; "mi ddof hefo ti."

Taflodd y ferch ryw hugan drosti, ac a aeth gyda Jim i lawr i'r gegin, a rhoddodd ymborth o'i flaen. Pe buasai Mr. Pugh yn llygad-dyst o'r awch gyda pha un y bwytâi Jim ei swper, buasai wrth fodd ei galon.

"Jim," ebe Miss Pugh, "paid ti a dywedyd wrth neb am y codi ganol nos yma, rhag i bobl feddwl ein bod yn dyrysu."

Gan fod safn Jim yn dygwydd bod yn llawn ar y pryd, nis gallai ateb, ond rhoddodd nog, ystyr yr hwn oedd *all right*, ac aeth ymlaen yn egniol i ddiwallu ei anghen.

Y fath deimlad rhyfedd sydd yn dyfod dros un hyd yn nod yn ei dŷ ei hun pan yr elo i lawr i'r gegin ganol nos? Y fath ddystawrwydd sydd ymhob man? Mor gryf y mae y cloc yn tician?—yn gryfach o lawer nag yn y dydd. Fel y mae y llygoden fechan sydd yn dianc ar draws y llawr, a'r chwilen ddu ysgleiniog sydd yn rhedeg yn ddystaw i'w thwll, yn ychwanegu at unigrwydd a dyeithrwch y teimlad! Mor barod ydyw y dychymyg i roddi ffurf a llun ar bob swn a chynhyrfiad!

Eisteddai Jim wrth y bwrdd mawr â'i gefn at y ffenestr, ac eisteddai Miss Pugh ar ei gyfer, gan ei annog i wneyd brys. Rhoddodd Jim nog arwyddocäol arall, gan roddi *extra supply* yn ei safn, yr hyn a barai i'w fochau ymddangos fel pe buasai eu perchenog yn chwythu mewn udgorn.

Wedi iddo lenwi pob congl o'i gylla, gollyngodd Jim ei afael o'i arfau bwyta, rhoddodd ei ddwylaw ar ei liniau, cymerodd un anadliad hir, a dywedodd, "Wel!" Pan gyfododd ei lygaid i edrych ar Miss Pugh, gwelodd hi yn syllu ar y ffenestr, a'i hwyneb mor welw â marwolaeth. Y fynyd nesaf gwelodd hi yn rhuthro i'r drws, gan roddi ysgrech wasgedig—"O Bob!"

Dilynodd Jim hi yn gyflym i'r buarth. Yr oedd y noswaith yn dywell a thawel, ac ni welent ddim ac ni chlywent ddim oddigerth y ci yn cyfarth.

"Be di'r mater, Miss Pugh?" gofynai Jim; "ydi Bob yn chware 'i *antics*, ac yn treio'n dychrynu ni?'

"Ffansïo 'roeddwn i, Jim. Dos i dy wely, 'ngwas i," ebe y ferch yn grynedig.

Dychwelodd y ddau i'r tŷ, a chauodd Miss Pugh y drws.

"Pam na chlowch chi'r drws, Miss Pugh?" gofynai Jim.

"Na, ni fedraf ei gloi heno, Jim," ebe hi.

Edrychodd yr hogyn yn synedig.

"Jim," ebe Miss Pugh, pan oeddynt ar ben y grisiau, "paid ti son wrth neb am hyn."

"Dim peryg," ebe yr hogyn, ac aeth i'w wely, a chysgodd yn drwm heb gael ei flino o gwbl gan ddiffyg treuliad. Ond yr oedd meddwl Miss Pugh yn rhy helbulus iddi hi allu cysgu. Ceisiai ymdawelu a pherswadio ei hunan mai wedi cael ei thwyllo gan ei dychymyg yr oedd. A pha beth oedd yn fwy naturiol, gan nad oedd hi yn gref iawn o ran ei hiechyd, ac hefyd ei bod wedi bod yn y fath bryder ynghylch Jim, a'r awr ar y nos mor drymaidd? Ac eto onid oedd y wyneb mor debyg ac mor agos i'r gwydr? Dychymygai glywed drws y gegin yn agor, a chyfododd yn ei heistedd yn y gwely laweroedd o weithiau i wrando yn ddyfal; ond ni chlywai hi ddim y gallai fod yn sicr o hono ond y ci yn udo yn dorcalonus. Yn ei meddwl ni bu y wawr erioed mor hir yn tori; ac oni buasai ei bod hi yn clywed yr hen gloc yn tician, buasai yn meddwl ei fod wedi sefyll, gan mor faith oedd yr oriau.

Wedi hir ddysgwyl, llithrodd i'w hystafell wawr lwyd oleu, yr hon a gynnyddai yn araf a thawel bob mynyd. Cyfododd hithau yn ddystaw o'i gwely, a dadorchuddiodd ac agorodd y ffenestr, gan roddi ei phen allan. Disgynai awel ffres a theneu y cyfddydd ar ei phen cythryblus, fel pe buasai yn ceisio lleddfu ychydig ar ei chyni. Tremiai yr eneth serchoglawn trwy wyll y bore i bob congl a chilfach, ond ni welai hi ddim ond y ci yn dyfod allan o'i gut, gan edrych yn hiraethlawn i un cyfeiriad, ac yna yn ysgrwtian ac yn dychwelyd i'w gut i gymeryd ail gyntun.

Clustfeiniodd yn astud, ond ni chlywodd hi ddim oddigerth gwêdd Ty'nllan yn myned i'r glo, a'r gyrwr yn chwibanu, ac ambell geiliog yn canu mewn atebiad i geiliog y Cartrefle, yr hwn a ganasai eisoes dair gwaith. Cauodd y ffenestr ac aeth yn ol i'w gwely, a theimlodd ryw drymder yn dyfod drosti, a chredai y gallai gysgu yn awr Ond beth os nad oedd hi wedi ei thwyllo gan ei dychymyg? Beth os ei wyneb ef a welsai hi? Beth os oedd efe y fynyd hono yn cysgu yn y gwellt yn y gywlas —hwyrach yn marw? oblegid yr oedd ei wyneb yn welw a theneu. A oedd ganddi hi hawl i gysgu a'r fath beth yn bosibl ac yn debygol? Na, nid Miss Pugh gyda'i chalon fawr oedd yr eneth i allu cysgu o dan y fath amgylchiadau. Neidiodd i'r llawr drachefn; edrychodd yn wyllt ac anmhenderfynol; rhoddodd ei llaw ar ei chalon, fel pe buasai yn ofni iddi dori, tra y dywedai, "O pe gwyddit y fath ofid yr wyt wedi ei ddwyn arnom!" a'r foment nesaf syrthiodd ar ei gliniau, gan gladdu ei hwyneb yn y cynfasau, a chan dywallt ei gofid o flaen yr Hwn sydd yn gwybod am ein holl deimladau a'n holl helyntion. Pan gyfododd hi oddiar ei gliniau, yr oedd yn oleu ddydd. Gwisgodd am dani yn frysiog, a llithrodd yn ddystaw o'i hystafell. Wrth fyned heibio i ystafell Jim, safodd a chlywodd ef yn chwyrnu yn uchel. Cafodd ddrws y gegin yn gymhwys fel y gadawodd hi ef. Aeth i'r buarth, a neidiodd Gelert o'i gut i'w chyfarfod, gan ysgwyd ei gynffon, a phob cymmal a gewyn mewn gorlonder croesawol. Edrychodd y foneddiges yn fyfyrgar i

lygad y ci; ac fel yr oedd hi yn tynu y goler oddiam ei wddf ac yn ei ollwng ef yn rhydd, dywedodd megys wrthi ei hun, "O Gelert, na faet yn gallu siarad, gael i mi ofyn cwestiwn i ti na feiddiaf ei ofyn i neb arall!" Càn gynted ag y teimlodd y ci ei hun yn rhydd, rhedodd gim-gam-gwa ar hyd y buarth â'i gynffon i fyny a'i drwyn gyda'r llawr, hyd nes y daeth at y llidiart; yna edrychodd yn ol i weled a oedd y ferch ieuanc yn ei ddilyn. Ond yr oedd hi yn myned i gyfeiriad arall; a phan welodd y ci hyn, cyfarthodd, fel pe buasai yn ceisio dyweyd, "Ffordd yma, ffordd yma." Ni chymerodd y foneddiges un sylw o'r ci, ac aeth i'r ystabl, wedi hyny aeth i'r gywlas, a thrachefn dringodd i fyny ysgol i'r daflod; ond ni chafodd hi ddim o'r hyn yr oedd yn ei geisio. Dychwelodd i'r tŷ, gan gloi y drws ar ei hol y tro hwn; a threuliodd yr amser hyd nes i'r teulu gyfodi yn ei hystafell mewn hunan gywilyddiad o herwydd i'w dychymyg gael y llaw uchaf arni.

Yn gynnar y boreu hwnw gwelais Miss Pugh yn rhoi tro yn y Dreflan, a synais ei gweled allan mor blygeiniol. Daethum i'r penderfyniad mai rhywbeth ynglŷn â'r parotoadau gogyfer â'i phriodas, yr hon oedd i gymeryd lle yr wythnos ganlynol, oedd y rheswm am hyny. Wrth weled ei gwyneb mor welw, dywedais wrthi yn gellweirus fod gweled wynebau pobl yn newid mor fawr yn fy nigaloni i feddwl am briodi. Ni wnaeth ond gwenu a dyweyd, "Wel, hwyrach y caf weled eich wyneb chwithau ryw ddiwrnod yn llwytach nag ydyw heddyw." Mor ychydig a wyddwn i pryd hyny beth oedd yn blino enaid y ferch synwyrlawn a rhinweddol.

Y noswaith ddilynol yr oeddwn gartref, a phriodas fy nghyfaill Noah â Miss Pugh oedd uchaf yn fy meddwl. Yr oedd y dygwyddiad hapus erbyn hyn yn berffaith wybyddus i bawb o bobl y Dreflan. Credwn na fu erioed well cymhariad. Cawswn bob mantais i adnabod y ddau yn drwyadl. Yr oedd gan Miss Pugh gynneddfau cryfion a chalon fawr deimladol, ac ar yr un pryd y fath wyleidd-dra benywaidd na fuasai gan Efa, cyn iddi brofi o ffrwyth

y pren, gywilydd ei harddel fel ei chwaer. Er cymaint yr edmygai lenyddiaeth a cherddoriaeth, un o'r pethau olaf iddi wneyd fuasai tynu ystumiau ar lwyfan gyhoeddus. Nid oedd yr addysg dda a gawsai ychwaith wedi ei hanghymhwyso i wneyd gwaith y tŷ, ac ni byddai arni gywilydd i neb ei gweled yn gwisgo ffedog wèn. Yn annibynol ar ei heiddo, gallasai unrhyw ddyn deimlo yn falch o'i chael yn wraig. Er y dywedir yn fynych—gyda pha sail nis gwn—fod merched cyfoethog yn meddu swyn mawr i wŷr y gôb ddu a'r cadach gwŷn, yr wyf yn sicr mai nid hyny a orchfygodd Noah; a phe hyny fuasai y ffaith, yr wyf yr un mor sicr mai Miss Pugh fuasai y gyntaf i'w gael allan. Yn hytrach teimlai y ddau, pan ddaethant gyntaf i gysylltiad â'u gilydd, fod eu huniad mor sicr o gael ei gyflawni ag ydyw prophwydoliaeth â holl rym arfaeth wrth ei chefn. Gwir nad yn y wedd hon yr edrychid gan bawb ar eu priodas agosäol. Dywedai Mr. Smart fod ganddo ef bob amser feddwl mawr o weinidogion y gair, fel y gwyddai Mr. Bevan, ond yr un pryd na buasai yn dymuno i ferch iddo ef briodi pregethwr Methodistaidd hyd nes deuai y wlad i edrych arnynt fel yr edrychir ar y *clergy* Dywedai Miss Smart,—"Certainly Miss Pugh is a little old fash, but she might have looked a little higher." Dywedai Mrs. Smart ei bod yn ofni y buasai yn dda gan Mrs. Pugh erbyn hyn pe buasai heb wneyd cymaint o Mr. Rees pan ddaeth efe gyntaf i'r Dreflan; oblegid beth arall a allasai hi ei ddysgwyl?—*mai pobl ieuainc ydyw pobl ieuainc.* Dywedai un neu ddau eraill eu bod yn gobeithio na feddyliai Mr. Rees ei fod, wrth briodi Miss Pugh, yn sefydlu ei hun am ei oes yn fugail yn y Dreflan, ac nad oedd yr un mor agored i gael gostwng ei gyflog neu i gael rhybudd i ymadael. Pa fodd bynag, nid oedd y syniadau uchod ond eithriadau. Llawenhâi y mwyafrif wrth feddwl am yr amgylchiad, ac yr oedd rhai hyd yr nod wedi parotoi eu hanrhegion.

Yr oeddwn gartref, fel y dywedais, ac o herwydd mai y noson flaenorol y buasai Noah yn ymweled â mi, synwyd fi braidd pan glywais gnoc fy nghyfaill ar ddrws

fy ystafell, ac y gwelwn ef yn dyfod i mewn. Dywedais wrtho fod yn dda genyf ei weled yn gwella fel bugail yn ei ofal am ei ddefaid. Atebodd yntau, "Buasai yn dda genyf allu credu fod eraill o'r un meddwl â thi; ond mae genyf ofn nad hyn yw y ffaith. Wyddost ti beth? mae y gair a ddywedodd Mr. Prysor noson fy sefydliad, sef ei fod yn dysgwyl y gallwn, ymhen y flwyddyn, gyfeirio at ryw waith mawr a fyddwn wedi ei wneyd, wedi bod yn fy meddwl ugeiniau o weithiau. Dyma fi bellach yma er ys rhagor lawer na blwyddyn, ac nis gallaf eto gyfeirio at waith mawr yr wyf wedi ei wneyd. Yr wyf yn ceisio gwneyd fy ngoreu; a pha gŵyn bynag a ddygir yn fy erbyn, yr wyf yn teimlo yn sicr na ddywedir fy mod yn ddiog a difater. Ac eto pan ddechreuaf gyfrif a mesur a phwyso yr hyn yr wyf wedi ei wneyd, yr wyf yn methu yn glir cael gafael arno. Byddaf yn teimlo yn ddigalon iawn ar adegau, a bron a meddwl nad ydwyf yn dda i ddim. A dyweyd y gwir i ti, yr oeddwn yn teimlo yn yswil iawn y dydd o'r blaen wrth dderbyn fy nghyflog gan Mr. Smart; a phe buasai yn gofyn i mi pa beth yr oeddwn wedi ei wneyd am dano, nis gwn sut y buaswn yn ei ateb."

"Yr oeddwn yn meddwl wrth dy wep," ebe fi, "fod y pruddglwyf arnat. Paham na wisgi di sachlian a lludw, ac ymdreiglo yn y domen, dywed? Yr wyt bob amser yn lladd arnat dy hun heb achos. Wyt ti yn dysgwyl gallu gwneyd gwyrthiau ac iachâu cleifion ein heglwys, a bwrw allan gythreuliaid o bobl ddrwg y Dreflan yma? Yr wyt yn gwneyd pobpeth ond hyny, am a wn i. Pan fyddi yn pregethu, yr wyt yn cael mwy o bobl i dy wrando na neb arall. Os byddi yn absennol o'r seiat, maent yn methu myned ymlaen hebot. Mae y bobl ieuainc yn dyheu am danat, fel y ddaear am y gwlaw. Nid oes genym neb i'n cynnrychioli mewn cyfarfod cyhoeddus ond tydi; ac nid ydwyt byth yn tori ffigiwr gwael ar yr adegau hyny. Mae dy lafur yn sicr yn cael ei fendithio. Yr wyt yn cael dy barchu gan enwadau eraill, a'th anwylo gan dy eglwys dy hun. Beth wyt yn

ddysgwyl fod? A pheth arall: ti a fyddi yn well ac yn fwy cyflawn dyn yr wythnos nesaf nag y buost erioed, wedi i ti gael gwraig—a'r fath wraig!"

Siaradwn fel hyn i'w galonogi, ac ar yr un pryd credwn fy mod yn dyweyd y gwir. Nis gallaf byth anghofio ei olwg wedi i mi ddyweyd y geiriau hyn wrtho. Yr oedd ei wyneb yn llwyd a chynhyrfus, a chanfyddwn mai prin y gallai gasglu digon o ddynoliaeth i beidio tywallt y dagrau oedd eisoes yn lleithio ei lygaid, tra y dywedai ar ol mynyd o ddystawrwydd,

"Fy nghyfaill, mae yr holl siarad a'r parotöadau i gyd yn ofer. Nid ydyw Miss Pugh i fod yn wraig i mi yr wythnos nesaf, os ydyw i fod byth. Dyna oedd fy neges yn dyfod atat heno, i gael dyweyd fy nghŵyn wythyt, ac i ofyn am dy help."

Yr oeddwn wedi fy syfrdanu, a phrin y gwyddwn pa beth i'w ddyweyd. Tarawodd i fy meddwl a oedd yn bosibl fod yr hon a ystyriwn i y brydferthaf, y buraf, a'r fwyaf rhinweddol ar y ddaear, wedi ei dwyllo! Eglurodd Noah i mi mewn ychydig eiriau yr holl amgylchiadau, a chodasom y fynyd hono ac aethom ein dau allan.

---

## PENNOD XXIII.

### ISMAEL UNWAITH ETO.

FEL y dywedais yn y bennod o'r blaen, aeth Noah a minnau allan. Cerddasom yn gyflym tua'r Cartrefle. Er fod yr ystrydoedd yn weigion a llonydd, ychydig o eiriau a gyfnewidiwyd rhyngom. Yr oedd Noah wedi egluro ei gynllun i mi cyn i ni gychwyn o'r tŷ. Fel yr oeddym yn troedio ymlaen mewn dystawrwydd, gwyddwn fod ein meddyliau yn rhedeg ar yr un peth: nad eiddo gŵr ei ffordd—na wyddom yr hyn a

ddygwydd i ni mewn diwrnod—fel y gwna un dygwyddiad syml yn fynych gyfnewid ein holl amcanion, a rhoi gwedd newydd ar ein dyfodol am ein hoes, o bosibl. Pan gyrhaeddasom y Cartrefle, arosais i wrth y llidiart, ac aeth Noah i mewn i'r tŷ.

Ymhen ychydig o fynydau, daeth Mr. Pugh allan yn frysiog gan wthio ei hun i'w gôb uchaf wrth gerdded tuag ataf. Edrychai yn fywiog a llawen, fel pe buasai wedi derbyn y newydd goreu ar y ddaear. Gan gydio yn fy mraich, a rhoi *right wheel* i mi tua'r cyfeiriad yr oeddym i fyned, dywedodd,

"Be wt ti'n sefyllian yn y fan yma, dywed? Pam na fasit ti'n dwad i'r tŷ? Ac y mae Ismael eisio 'ngwel'd i, ydi o? On'd oeddwn i yn deyd i ti fod rhwbeth ar 'i feddwl o er's talwm? Rydw i wedi bod yn dysgwyl am hyn er's misoedd. Wired a mod i yn y fan yma, mae'r gwirionedd wedi cyffwrdd â meddwl Ismael, yn siŵr i ti. 'Drycha di fel y mae o'n dwad i'r moddion, ac fel y mae o wedi newid ei fuchedd. Rydw i wedi bod yn diolch ganweth am i ti a mine gael ar 'n meddwl i fyn'd i Fuarth Jenkins y p'nawn Sul hwnw. Oni base am hyny, wel di, mi fase Ismael heno, mae'n lled debyg, yn y *White Horse*, a Jim yn 'i garpie yn gorwedd ar yr aelwyd yn 'i ddysgwyl o gartre'. Diolch i'r Brenin Mawr am gael bod yn foddion i wneyd tipyn bach o ddaioni yn y byd drwg yma."

Nid wyf yn cofio beth a ddywedais mewn atebiad iddo, ond yr wyf yn cofio yn dda beth oedd yn fy meddwl. Teimlwn ryw fath o euogrwydd fy mod yn chwareu cast â'r hen ŵr gonest ac unplyg, ac ar yr un pryd credwn mai hyny oedd oreu o dan yr amgylchiadau. Pan oeddym yn myned i lawr Buarth Jenkins, dywedodd Mr. Pugh, "Un o'r pethe casa gen' i wrth fyn'd i lawr y buarth yma ydi meddwl am y lafnes lygadgroes hono. Wyt ti'n cofio fel y rhegodd hi ni y Sul hwnw? Siawns na welwn ni moni heno. Wyddost ti be'? fydde gen' i dryst yn y byd na ddeue tân a brwmstan ar y lle 'ma oni bae fod yr hen Siân Jones gyfiawn

yn byw yn nghanol yr anwiriaid! Aros di, hwn ydi tŷ Ismael, yntê? Be' di'r gole ene yn y llofft? Ydi'r creadur ddim yn myn'd i'w wely, tybed i ti?"

Curasom y drws yn ysgafn, ac atebwyd ni gan yr un llais dwfn, ac yn yr un geiriau, â phan oeddym yn ymweled y tro cyntaf â'r tŷ, fisoedd lawer yn ol: "Dowch i mewn." Eisteddai Ismael yn yr un gader, a chyda yr un bibell, am a wyddwn i, yn ei safn, ac yn cael ei amgylchynu gan adar dirifedi. Wedi i ni eistedd i lawr, dywedodd Mr. Pugh â gwên siriol ar ei wyneb, "Wel, Ismael bach, mae gynoch ch'i rwbeth eisio 'i ddeyd wrtha i, rydw i'n dallt, ac y mae yn dda gen' i gael dwad yma i'w glywed; ac os nad ydw i'n twyllo fy hun yn fawr, mae rhwbeth ar ych meddwl ch'i er's talwm." Gosododd Ismael ei getyn ar y pentan, a chyfarchodd Mr. Pugh mor agos ag y gallaf gofio yn y geiriau canlynol:—

"Oes, Mr. Pugh, y *mae* rhywbeth ar fy meddwl, a dylaswn fod wedi ei ddyweyd wrthych er's llawer dydd, pe ond i ysgafnhâu ychydig ar fy nghydwybod. Mae eich caredigrwydd digyffelyb at fy ngwraig pan yr oedd hi'n fyw, ac ataf finnau pan oeddwn mewn profedigaeth, ac yn enwedig at fy machgen, wedi fy ngosod o dan y fath ddyled i chwi, nad allaf dalu y filfed ran o honi byth. Ac eto ni dderbyniais erioed gymwynas oddiar eich llaw heb fod fy nghydwybod ar dân wrth ei derbyn; oblegid chwi, o bawb yn y byd, yr wyf wedi ei niweidio fwyaf. Yr ydych yn synu; ac felly gellwch; ac nid allaf byth obeithio am eich maddeuant ond ar yr ystyriaeth fy mod wedi eich niweidio yn fy anwybodaeth, neu o leiaf yn fy anystyriaeth. Pe trethwn eich amynedd trwy fyned dros hanes fy mywyd, hwyrach y gwnai hyny liniaru ychydig ar fy nhrosedd yn eich golwg. Ond ni wnaf eich poeni gyda hyny heno. Fel y gwyddoch, treuliais y rhan fwyaf o'm hoes yn Lloegr. Fy nghymdeithion y pryd hyny oeddynt, gan mwyaf, yn feddwon ac anffyddwyr. O'm hieuenctyd yr oeddwn yn hoff iawn o ddarllen; ac yn ystod fy arosiad yn Lloegr darllenais agos bob llyfr na ddylaswn ei ddarllen. Pan ballodd fy

iechyd, a phan ddychwelais yn ol i'r Dreflan, yr oeddwn heb fod mewn moddion gras er ys llawer o flynyddoedd, ac yr oedd fy syniadau am grefydd a chrefyddwyr yn isel a chaled. Edrychwn ar grefyddwyr fel dosbarth yn cael ei wneyd i fyny o ffyliaid a *humbugs*, ac ar weinidogion y gair yn enwedig fel rhagrithwyr twyllodrus, y rhai oeddynt yn yspeilio poblach dlodion o'u harian. Golygwn eiriau fel 'cymwynasgarwch,' 'cariad,' &c., megys geiriau gweigion, y rhai a ddefnyddid gan offeiriaid cyfrwys i guddio eu twyll; a chredwn mai y geiniog oedd yn llywodraethu pawb a phobpeth. Cadarnhäwyd fi yn fy nghredo gan ymddygiadau bryntion y *scoundrel* digydwybod hwnw, Jeremiah Jenkins. Er fy mod yn wael iawn fy iechyd ar y pryd, ac y dylaswn feddwl am fy niwedd, yr oeddwn yn y fath ysbryd fel yr oedd melldith i rywun neu gilydd ar fy nhafod bob awr o'r dydd.

"Un diwrnod daeth Tom Jenkins yma i ymofyn y rhent—*noble fellow* oedd Tom—a chydag ef yr oedd eich mab, Robert Pugh. Yr oedd ef yn glyfrach bachgen hyd yn nod na Tom, oblegid, y mae yn debyg, iddo gael gwell addysg a dygiad i fyny. Yr oedd arnaf ddeg swllt o rent, ac nid oedd genyf ddim i dalu. Rhoddodd Robert Pugh ei law yn ei boced, a thalodd fy nyled yn erbyn fy ngwaethaf. Wrth weled caredigrwydd y bachgen calonagored, yr hyn oedd yn beth newydd a dyeithr i mi, mynais innau ei anrhegu â'r aderyn goreu a feddwn —brawd i hwnyma, syr (wrth ddyweyd hyn cyfododd Ismael ar ei draed, a rhedodd ei ewin ar draws *wire* cawell *green canary* prydferth oedd yn ei ymyl), y *breed* goreu allan, Mr. Pugh. Ond nid oes eisieu i mi ddyweyd dim am yr aderyn—gwyddoch beth ydyw, oblegid y mae yn y Cartrefle heddyw, ac nid oes ei gyffelyb yn y chwe' Sir. Byth wedi hyn, bu eich mab a minnau yn gyfeillion mawr, ysywaeth. Llawer hirnos auaf a dreuliodd efe yma, gan eistedd yn y gader yr ydych chwi yn eistedd ynddi yn awr. Nid oedd arno, fel y gwyddoch, brinder arian; a phob amser y byddwn mewn anghen, yr oedd ei law yn agored i'm cynnorthwyo. O herwydd fy

mod wedi gweled a darllen llawer, yr oeddwn yn gallu ei ddifyru bob adeg gyda chwedleuon, a gwyddwn fod genyf ddylanwad mawr arno. Ofnai yn fawr i chwi ddyfod i wybod ei fod yn mynychu fy nhŷ, ac nid heb reswm. Rhag i mi eich poeni yn ormodol, Mr. Pugh, mi doraf fy ystori yn fer. Er fy nghywilydd yr wyf yn addef i mi gymeryd trafferth i greu rhagfarn yn ei feddwl yn erbyn crefydd a chrefyddwyr, ac o dipyn i beth llwyddais i'w gael i goleddu yr opiniynau a goleddwn i fy hun y pryd hwnw yn gydwybodol. Er ei fod yn mynychu moddion gras yn lled gyson er mwyn eich boddhâu chwi, ymfalchïwn a chwerthwn yn fy llawes ei fod ar yr un pryd yn ffieiddio yr holl foddion, ac yn enwedig y pregethwyr. Nid dyna'r cwbl, syr, na'r gwaethaf—Duw faddeuo i mi fy nrygioni! cymhellais ef i ddyfod gyda mi i'r *White Horse.* Yr oedd yn anfoddlawn iawn ar y dechre; ond wedi i mi chwerthin ymaith ei ragfarnau, fel y galwn hwynt, ildiodd. Ni chefais ddim trafferth i'w gael yno wedi hyn. Yr oedd yn hoffi y cwmni, a'r cwmni yn ei hoffi yntau. Gwyddoch yn rhy dda, Mr. Pugh, beth a fu'r canlyniad. Er nad ydwyf mewn modd yn y byd am geisio cyfiawnhâu fy hun, y mae'r Nefoedd yn gwybod na fwriedais ei wneyd yn feddwyn. Fy ymdrech gwastadol oedd ei ryddhâu, bid siŵr, oddiwrth yr hyn a ystyriwn i yn fy ffolineb y pryd hwnw yn rhagfarnau crefyddol, a'i arwain i edrych ar bethau oddiar safle synwyr cyffredin. O y fath ynfytyn oedd ei athraw! Ond aeth y dysgybl y tu hwnt iddo yn union! Daliwyd ef yn rhwyd uffernol y diafol; collodd ei gymeriad, a gwarthruddodd ei dad a'i deulu. Ond beth wnaf fi yn siarad? pe bae genyf fil o dafodau ni fedrwn fynegu hanner eich profiad chwerw chwi eich hunan. Yr holl anghysur, yr holl bryder a'r cyni calon yr aethoch drwyddo, yr holl obeithion dysglaer a fallwyd; rhoddwch y cwbl wrth fy nrws i—yr wyf yn gyfrifol am y cyfan, a byddai raid i chwi feddu calon ddwyfol ymron i allu maddeu i mi!

"Mi welaf, Mr. Pugh, fy mod yn rhwygo eich teimladau. Ond cyd-ddygwch â mi am fynyd. Gadewch i mi

wneyd *clean breast*, byddaf ar ben yn union. Yr oedd Robert bob amser yn son am fyned i ffwrdd, ac am gael gweled mwy o'r byd, ac ar yr un pryd yr oedd yn hoff iawn o'i gartref a'i deulu, yn enwedig ei chwaer, hyd yn nod pan fyddai efe yn ei gyflwr gwaethaf. Gwn eich bod yn cofio y noswaith yn dda pan ddywedasoch wrtho, nad oeddych yn bwriadu yn y dyfodol agor eich drws i feddwyn. Daeth Robert Pugh yma y noswaith hono. Wedi iddo fod yma ychydig fynydau, aeth allan; ac yn y cyfamser gallodd fenthyca swm lled fawr o arian gan Tom Jenkins. Dychwelodd yma drachefn, ac arosodd hyd dri o'r gloch y bore, a mynegodd i mi ei benderfyniad i fyned ymaith. Ceisiais ei berswadio i newid ei feddwl; nid er mwyn ei deulu, yr wyf yn addef, ond er fy mwyn fy hun, oblegid yr oeddwn yn hoff iawn o hono; a phwy nad oedd? Ond ni fynai ei droi—yr oedd yn benderfynol o fyned i ffwrdd. Aethum i'w hebrwng bedair milldir o ffordd—hyd at y Coed Gwylltion, a ffarweliais âg ef yn nhywyllwch y bore, y pymthegfed dydd o Dachwedd; ac nid oes genyf gywilydd dyweyd i ni ein dau dywallt dagrau; oblegid er mor annuwiol oeddym, nid oedd yr oll o deimladau goreu y galon ddynol eto wedi ein gadael. Camgymeriad mawr, syr, ydyw tybied nad ydyw y meddwyn yn teimlo, ac yn teimlo yn ddwys ar adegau. Gwelais amryw yn fy nydd, wedi iddynt sobri, yn wylo nes oeddynt bron yn ddall wrth ystyried mor ddwfn yr oeddynt wedi syrthio i drueni a chaethiwed meddwdod. Gwn na chlywsoch chwi byth air oddiwrth Robert Pugh, ond anfonodd amryw lythyrau ataf fi.

"Rhawg wedi iddo fyned ymaith, cymerwyd fy ngwraig yn wael, a bu raid i mi ofyn i Dr. Ellis ddyfod ati. Erbyn hyn yr wyf yn meddwl fy mod yn gweled bys Duw yn hyn, i fy nwyn i fy synwyrau. Mewn ymddyddan â mi deallodd Dr. Ellis yn fuan fy mod yn un o'r ynfydion hyny nad ydynt ond wedi edrych ar un ochr i fywyd, a hono yr ochr waethaf. Yn ei ddull siriol a charedig, treuliodd lawer awr yn yr hen gaban tlawd yma i geisio fy argyhoeddi o fy ffolineb. Yr oedd yn drech

na mi mewn dadl. Pa safle bynag a gymerwn, yr oedd yn fy nghorchfygu yn lân. Heblaw fod ganddo well tir i sefyll arno, yr oedd wedi darllen mwy na mi. Dechreuodd goleuni dywynu i fy meddwl, ond yr oeddwn yn rhy ystyfnig i gydnabod hyny hyd yn nod wrthyf fy hun, a phrotestiwn mai hunan a'r geiniog oedd yn llywodraethu pawb. Yr oedd holl ymddygiadau Dr. Ellis tuag ataf fi a'm gwraig yn condemnio fy athrawiaeth, oblegid dywedaswn wrtho ar y dechre nad allwn dalu iddo, ac am ei holl lafur a'i garedigrwydd nid oedd yn dysgwyl ceiniog. Syr, os oes dyn da ar y ddaear, Dr. Ellis ydyw hwnw! Yr oeddwn yn barod i wneyd unrhyw beth a ofynai i mi oddigerth cydnabod fod fy opiniynau yn gyfeiliornus. Pan ddaethoch chwi a'ch cyfaill i'm ceisio i'r Ysgol Sul, yr oeddwn mewn sefyllfa ryfedd o ran fy meddwl. Dymuniad fy nghalon oedd cael ffraeo â phawb oddigerth â'r doctor, a rhoi *kick* i'r byd a marw. Ond yr oeddych fel pe buasech wedi gwneyd â'ch gilydd i fy lladd trwy eich caredigrwydd. Yn ben ar y cwbl, daeth eich gweinidog, Mr. Rees, yma. Pan ddeallais pwy oedd efe, deffrôdd fy holl ragfarnau yn erbyn pregethwyr yn y fan. Ond yr oedd un peth ynddo a gafodd ffafr yn fy ngolwg: nid oedd ganddo gadach gwyn, ac yr oedd wedi ymwisgo yn union fel rhyw ddyn arall; a chefais nerth i lywodraethu fy natur ddrwg, a pheidio dyweyd dim yn gas wrtho. Peth arall yn Mr. Rees a gafodd argraff dda arnaf oedd nad oedd dim *twang* na *cant* grefyddol o'i gwmpas, yr hyn bethau oedd yn fy ngwneyd yn sâl pan ddeuai y *curate* yna o'r De yma i ymweled â mi. Yr oedd fy ngwraig yn rhy wael i Mr. Rees allu ei gweled y diwrnod hwnw, ond eisteddodd i lawr i ymddyddan â mi. O herwydd ei fod yn edrych yn lled ieuanc, meddyliais os oeddwn wedi cael fy ngorchfygu gan y doctor, y gallwn fesur cleddyfau yn lled lew â llencyn fel hwn, a themtiais ef i ddadl. Buasai yn well i mi beidio. Triniodd fi fel baban; taflodd fi i'r awyr, mewn ffordd o siarad, daliodd fi âg un llaw, gosododd fi ar wastad fy nghefn ar lawr, a chwareuodd â fy nhrwyn, a hyny yn y

ffordd fwyaf tawel ac hamddenol a welais erioed. Yr oeddwn yn chwys dyferol gan gywilydd; a gwelais y fynyd hono mai un peth oedd siarad yn fawr yn nghanol ffyliaid yn y *White Horse*, ac mai peth hollol wahanol oedd siarad â dynion o synwyr a dysg. Parhaodd Mr. Rees i ddyfod yma yn gyson, nes oeddwn o'r diwedd yn edrych ymlaen at ei ymweliadau gydag awch.

"Yr oedd fy ngwraig ymron mor ddifeddwl am ei diwedd ag oeddwn innau cyn yr argraffiadau da a wnaed ar ei meddwl gan gynghorion yr hen greadures ddiniwed Siân Jones. Hyd y dydd hwn, syr, nis gwn yn iawn pa un ai yr hen Siân ai Mr. Rees a fu yn foddion yn llaw Duw i'w dwyn i afael â gwir grefydd; ond gwir grefydd a gafodd càn sicred a'r byd, fel y gwyddoch. Yn ei holl boenau a'i gwendid, yr oedd hi yn dawel a diolchgar. Bu Dr. Ellis yn hynod o ffyddlawn; ond er ei holl lafur a'i ofal, nid allwn gelu oddiwrthyf fy hun fod fy ngwraig yn gwaethygu bob dydd, ac yr oeddwn ymron dyrysu yn fy synwyrau wrth adgofio fy ymddygiadau angharuaidd tuag ati am lawer o flynyddoedd; ond ni soniai hi un gair am danynt. Un noswaith, ychydig wythnosau cyn iddi farw, yr oeddwn yn eistedd wrth ei gwely yn ei gwylio. Edrychodd arnaf yn sefydlog am rai mynydau, a thybiwn fy mod yn gweled angeu yn ei gwyneb. 'Is.,' ebe hi, 'wnei di addaw un peth i mi?' 'Beth ydyw hyny?' gofynais innau. 'Wnei di addaw?' ebe hi drachefn. 'Gwnaf, beth bynag ydyw,' atebais, oblegid yr oedd fy nghalon bron a thori. 'Wnei di fyn'd i'r capel, a darllen y Bibl?' Nis gallasai ofyn peth mwy anhawdd genyf ei gyflawni; ond yr oeddwn wedi rhoi fy ngair, a dywedais drachefn, 'Gwnaf.' 'Wnei di un peth arall?' gofynodd wed'yn. Credwn nas gallasai ofyn mwy nag oedd wedi ei ofyn eisoes, a dywedais yn bendant, 'Gwnaf unrhyw beth a ofyni.' 'Dos ar dy liniau, ebe hi. Teimlais rywbeth fel dwfr oer yn rhedeg rhwng fy nghnawd a fy nghroen, ond ufuddheais. Mewn ychydig eiriau syml, gweddïodd yn daer drosof fi a Jim, yr hwn oedd ar y pryd yn cysgu yn ei ddillad ar lawr y llofft.

Nis gallaf ddesgrifio i chwi fy nheimladau, a phrin yr oeddwn yn credu mai myfi fy hun oeddwn wrth feddwl fel yr oedd fy ngwraig anllythyrenog wedi gorchfygu balchder fy nghalon trwy ryw ddylanwad rhyfedd a dyeithr i mi.

"Ond maddeuwch i mi am son cymaint am danaf fy hun, er fy mod yn ceisio bod yn gynnil. At hyn yr oeddwn yn cyfeirio. Yr hyn a fawr ofnais a ddaeth arnaf o'r diwedd, a buasai wedi dyfod yn gynt oni buasai am eich caredigrwydd chwi, Mr. Pugh. Un noswaith—yr ydych eich dau yn cofio y noswaith yn dda—yr oedd yn ystormus iawn, ac yn fwy felly ar fy mynwes i. Yr oedd fy ngwraig yn ymladd am ei bywyd, a Siân Jones a Jim a minnau yn edrych arni heb allu gwneyd dim iddi. Daeth y doctor yma; ac wedi fy ngalw o'r neilldu, dywedodd wrthyf ei fod yn ofni ei bod yn marw. Wrth gwrs, gwyddwn hyny cystal ag yntau; ac eto aeth ei eiriau fel cleddyf trwy fy ymysgaroedd. Yn y man deallasom ei bod yn dymuno cael gweled Mr. Rees, a rhedodd Jim i'w gyrchu. Methais i ag aros yn yr ystafell. Tra yr oeddwn yn eistedd o flaen y tân yn y fan yna mewn synfyfyrdod, ac yn dysgwyl am Mr. Rees a Jim, clywais rywun yn curo y drws yn ysgafn. Cyfodais i agoryd, a phwy a welwn ond eich mab Robert Pugh. Yr oedd yn wlyb at y croen, ac yn edrych yn wael a blinedig iawn. Dywedodd wrthyf ei fod wedi bod yn fachgen drwg, a'i fod wedi dyoddef caledi mawr—ei fod wedi gweithio ei ffordd o'r America i'r wlad hon gyda'r bwriad o daflu ei hunan wrth eich traed, ac erfyn eich maddeuant—ei fod wedi bod wrth y Cartrefle, ac iddo edrych drwy y ffenestr—ac iddo eich gweled chwi, ei fam a'i chwaer, a'ch cyfaill yma, a rhywun arall tebyg i bregethwr, a'ch bod oll yn ymddangos yn gysurus a llawen, ond ddarfod i'w galon syrthio ynddo, ac iddo ofni myned i fewn rhag na buasech yn rhoddi derbyniad iddo."

Hyd yn hyn yr oedd Mr. Pugh a'i ddau benelin yn gorphwys ar ei liniau, ac yn cynnal ei ben rhwng ei ddwylaw, ac yn edrych yn drist tua'r llawr; a phan ddy-

wedai Ismael y geiriau olaf, byth nid anghofiaf waedd wasgedig fy hen gyfaill—

"O! fy machgen anwyl!"

"Goddefwch am fynyd, Mr. Pugh," ebe Ismael; "dywedais wrth eich mab am fy sefyllfa, fod fy ngwraig yn marw, a fy mod yn dysgwyl Mr. Rees yma bob mynyd, ond, ebe fi wrtho, mae i chwi gan' croesaw i aros wrth y tân drwy'r nos. Tra yr oeddwn yn dyweyd hyn, clywem lais rhywrai yn nesâu at y tŷ; a phan agorodd Jim y drws, adnabyddodd Robert Pugh eich llais chwi; a chan osod ei fys ar ei safn i arwyddo nad oeddwn i son dim llithrodd i'r ystafell gefn yma, gan gau y drws ar ei ol. Wedi i chwi eich pedwar fyned i'r llofft, daeth yntau yn ol, a mynodd fyned ymaith; ac wrth fyned dyma oedd ei eiriau, y rhai a ddywedodd mewn brys mawr, 'Ismael, peidiwch a dyweyd wrth fy nhad. 'Rwyf yn gwel'd na fedraf godi *courage* i fyn'd adre; os clywch fy mod wedi marw, dywedwch wrthynt fy mod wedi eu gweled oll—ffarwel am byth!' a gwasgodd fy llaw yn dŷn, a chyn i mi sylweddoli ei eiriau, clywn ef yn cerdded yn gyflym yn y tywyllwch i fyny'r buarth. I ba le yr aeth y noswaith hono nis gwn, ac ni chefais lythyr mwy oddiwrtho."

Peidiodd Ismael a llefaru, ac edrychai ef a minnau ar Mr. Pugh, yr hwn a barhâi yn yr un sefyllfa, ond ei fod yn siglo fel cryd o'r naill ochr i'r llall, ac yn ymddangos yn y dirdyniadau mwyaf. Ar ol mynyd o ddystawrwydd, cododd yr hen foneddwr anwyl ei ben. Ymddangosai ei wyneb i mi yn hynach o flynyddau nag ydoedd awr yn ol. Edrychodd yn galed ar Ismael, ac anhawdd oedd dyweyd pa un ai gofid ai cerydd oedd amlycaf yn ei wynebpryd, tra y dywedai gydag anhawsder mawr,

"Ismael, ddaru mi ddim haeddu hyn oddiar eich llaw. Pam na fasech ch'i yn d'eyd wrtha i fod fy machgen yn eich tŷ y noswaith hono?"

"Mr. Pugh," ebe Ismael, "gwyddwn ei fod wedi bod yn afradlawn iawn, ac wedi diystyru eich holl gynghorion, ac yr oeddwn yn ofni na fuasech yn maddeu iddo, ac na fuasai dyweyd wrthych yn ateb un dyben."

"Madde iddo! madde iddo!" gwaeddai yr hen dad; "pe base' i ddrygioni o yn ganmil mwy, baswn yn madde iddo o waelod fy nghalon!"

Neidiodd Ismael ar ei draed y fynyd hono, a chan gydio yn mraich Mr. Pugh, dywedodd, "Dowch gyda mi, syr," ac arweiniodd ni i'r llofft. Y gwrthddrych cyntaf a welsom ar ben y grisiau oedd Gelert, yr hwn oedd yn ysgwyd ei gynffon ac yn edrych yn llawn *concern.* Y nesaf oedd Dr. Ellis, yr hwn a ddaethai i gyfarfod Mr. Pugh ac a gydiodd yn ei fraich. Yn sefyll wrth ochr y gwely, gyda'i chefn atom, yr oedd Siân Jones, ac ar y pryd yn derbyn llestr o law—wel o law Robert Pugh, yr hwn oedd yn eistedd yn y gwely. Yr oedd ei wedd yn welw a churiedig; ond pan welodd efe ei dad, rhuthrodd hyny o waed oedd ganddo i'w ruddiau, gan gilio yn ol drachefn a'u gadael yn fwy gwelw nag o'r blaen. Edrychodd y ddau ar eu gilydd mewn dystawrwydd. Canfyddwn fod Mr. Pugh yn gwneyd ymdrech galed i edrych yn *stern* i wyneb cywilyddgar ei fab, yr hwn a ofynodd yn wylaidd, "'Nhad, ga i dd'od adre i farw?" Dirgrynai pob gïen yn ngwyneb yr hen ŵr, ond nid atebodd efe yr un gair. "Mr. Pugh bach," ebe Siân Jones, "cofiwch am ddammeg ein Gwaredwr bendigedig;" a gadawodd yr hen wreigan yr ystafell. Nid cynt y dywedodd hi hyn nag y nesaodd Mr. Pugh at ei fab, a chan ymaflyd yn ei law estynedig, syrthiodd ar ei fynwes, ac wylodd yn hidl; ond ni lithrodd un sill dros ei wefusau. Clywem rywun yn dyfod i fyny y grisiau, a gwnaeth Noah ei ymddangosiad a dywedodd, "Mae pob peth yn barod." "A oes berygl ei symud?" gofynai Ismael i'r doctor. "Dim o gwbl," oedd yr ateb. Cymerodd Noah Mr. Pugh ymaith. Yr oedd y bachgen afradlawn mor wanaidd, neu ynte yr oedd cyfarfod ei dad wedi effeithio arno mor fawr fel nad allai wisgo am dano, a bu raid i'r Doctor Ellis a minnau ei helpio. Wrth i ni adael y tŷ, dywedodd Robert Pugh rywbeth yn ddystaw yn nghlust Ismael, ac ysgydwodd y ddau ddwylaw yn garedig.

Oni buasai ei bod yn hwyr ar y nos, a phawb wedi

myned i orphwys er ys meityn, gallasai y trigolion glywed Robert Pugh yn pesychu yn drwm fel yr oedd efe yn gwegian yn mraich Dr. Ellis a minnau wrth fyned i fyny y buarth. Pan gyrhaeddasom yr heol, yr oedd y cerbyd yno yn ein haros, ac ymhen ychydig fynydau yr oeddym ein tri yn y Cartrefle. Er fod yr olygfa yno y noswaith hono yn fyw ar fy meddwl, ni cheisiaf ei desgrifio.

Ychydig a soniwyd am Robert Pugh yn yr hanes hwn, ac nid ydwyf yn dewis cyflenwi y darllenydd â mwy o wybodaeth yn ei gylch nag sydd wir anghenrheidiol i wneyd yr hanes yn rhywbeth tebyg i gyflawn. Cawsai yr addysg a'r dygiad i fyny goreu, ac yr oedd yn fachgen talentog a charedig, ond llithiwyd ef gan gyfaredd y ddiod feddwol. Gwnaeth ei deulu a'i gyfeillion bob ymdrech i'w ddiwygio, ond bu y cwbl yn ofer. Am amser cyn iddo fyned oddicartref, beïai rhai Mr. Pugh am ei oddef cyhyd, gan ddadgan yn gryf y buasent hwy wedi ei droi dros y drws er ys llawer dydd. Ragrithwyr! leied a wyddech chwi fel yr oedd Mr. Pugh yn ei garu! Pan ddywedodd efe wrtho nad oedd yn bwriadu yn y dyfodol agor ei ddrws i feddwyn, ni ddychymygodd am fynyd' roddi y bygythiad mewn grym; a bu yn edifar ganddo ganwaith adael i'r geiriau syrthio dros ei wefusau. Ac eithrio Ismael, ni wyddai neb ddim o hanes Robert Pugh tra y bu oddicartref, hyd nes y cafwyd yr adroddiad o'i enau ef ei hun y noson y cymerwyd ef i'r Cartrefle. Mae rhai blynyddau er hyny; ond gwelaf fy hunan yn ystafell wely oreu y Cartrefle. Yn eistedd mewn cader esmwyth y mae Mr Pugh, ac yn chwerthin ac yn wylo bob yn ail. Weithiau y mae yn chwerthin lle dylai wylo, ac yn wylo lle dylai chwerthin. Wrth edrych ar wyneb Noah, gwyddwn ei fod ef fel fy hunan yn ofni fod yr hen ŵr yn dechreu dyrysu, ac fod y cyfarfyddiad yn ormod iddo. Yn eistedd yn ei wely y mae yr afradlawn, ac yn cael ei gynnal gan amryw glustogau. Er ei fod yn wan ac yn pesychu yn dost, y mae yn mynu cael siarad, a dadgan ei edifeirwch. Wrth ei ochr y mae ei fam a'i chwaer yn llawn pryder, ac yn dyfeisio, gyda chynnorthwy Dr. Ellis, pa gordial a

roddir iddo nesaf. Yn un gongl o'r ystafell y mae Jim, ac yn sychu ei lygaid yn llawes ei gob, er nas gŵyr yn iawn am ba beth y mae yn wylo, os nad am ei fod yn gweled ei feistr yn gwneyd felly. Mae drws yr ystafell yn lled agored er mwyn cael digon o awyr bur. Mae Susan yn yspïo gyda chil y drws, ac yn rhwbio ei llygaid â'i ffedog, gan gymeryd arni golli dagrau—ond cymeryd arni y mae; oblegid ni bu erioed yn dda ganddi am Robert Pugh, o herwydd y byddai bob amser yn ei "phlagio." Mae Mrs. Pugh yn gorchymyn Susan a Jim i'w gwelyau, ac er yn anfoddlawn y maent yn gorfod myned. Crefa Miss Pugh ar ei brawd i geisio bod yn llonydd a gorphwyso; crefa yntau am gael dyweyd ei ystori, "rhag ofn," meddai, "na byddaf byth eto yn ddigon cryf i'w hadrodd." Mae Dr. Ellis yn rhoi caniatâd iddo ddyweyd ei hanes, gan awgrymu y bydd yn fwy tawel ar ol cael dyweyd yr hyn sydd ar ei feddwl. Mae ei ystori yn faith—yn rhy faith i mi roddi crynodeb o honi yn y bennod hon.

---

## PENNOD XXIV.

### YR AFRADLAWN.

PE buasai rhywun eisieu engraifft ddifrifol o ganlyniadau dinystriol anghymeroldeb, gallasai ei chael yn Robert Pugh y noson y cymerwyd ef i'r Cartrefle gan Dr. Ellis a minnau. Ond y mae yn ofnus fod yr engreifftiau yn rhy aml, a bod ein llygaid wedi cynnefino gormod â hwynt iddynt gynnyrchu yr effaith a ddylent ar ein calonau. Y noson hono nis gallaswn beidio edrych yn ol ryw chwe' blynedd. Gwelwn o flaen fy meddwl lencyn iraidd hoew, ugain oed, o'r enw Robert Pugh. Yr oedd hwnw yn foneddigaidd ei olwg, yn addurn i'w deulu, ac yn ffafryn gan bawb. A cedd yn edifar gan ei dad ei fod wedi

gwario cannoedd o bunnoedd ar ei addysg? Nac oedd, oblegid gwelai ddyfodol dysglaer iddo; a phan elai y bachgen i'r swyddfa erbyn naw yn y bore, edrychai ei dad drwy y ffenestr ar ei ol gydag edmygedd. Ond pa beth a welwn o flaen fy llygaid y noson hon yn y Cartrefle? Llencyn chwech ar hugain oed, ond yn edrych yn llawn ddeugain, ei fochau wedi pantio nes yr oeddwn yn ofni eu bod yn cyffwrdd â'u gilydd yn ei safn, ei wefusau yn leision a gwahanedig, ei lygaid yn annaturiol o ddysglaer a gwyllt, ei anadl yn fyr—ei frest fel pe buasai yn pwyso ar asgwrn ei gefn, ac yn peri iddo besychu yn barhâus a phoeri yn feunyddiol—ei aelodau heb brin allu gwneyd eu hôl yn y gwely, a'i ddwylaw yn feinion, masw, a llaith. Yr oedd hyny o lais oedd ganddo yn grâs a sych. Edrychai o'i gwmpas yn aflonydd, ac at y drws yn fynych, fel pe buasai yn ofni gweled rhyw saer calongaled yn dyfod âg arch iddo cyn ei farw! O'r braidd y gallwn goelio mai yr un un oedd y ddau Robert Pugh hyn. Pan yn ugain oed, yr oedd yn iach a chryf, a'i chwerthiniad calonog yn llenwi y Cartrefle, ac yn drydanol yn ei effeithiau ar galonau ei rieni a'i chwaer. Efe ydoedd eu llawenydd a'u gogoniant. Ond yn awr yr oedd ei wyneb wedi ei ordoi â chywilydd; ac er ei fod yn cael croesaw a'r caredigrwydd mwyaf didwyll, bradychai ei wedd anesmwythder poenus ac euogrwydd oedd yn bwyta ei galon. Ni cheisiai gelu dim ar ei afradlonedd, eithr yn hytrach dangosai awydd cryf am ddadguddio y cwbl.

O herwydd ei fod yn wanaidd iawn, cymerodd iddo hir amser i adrodd ei ystori. Gŵyr y darllenydd eisoes fel y darfu i Robert Pugh fenthyca arian gan Tom Jenkins i'w gario drosodd i'r Gorllewin. Cychwynodd oddicartref. meddai, gyda phenderfyniad cadarn i droi dalen newydd. Pan gyrhaeddodd i'r America, meddyliodd y mynai gael gweled ychydig ar y wlad cyn ymaflyd mewn unrhyw orchwyl. Cyn iddo ychwanegu nemawr at ei wybodaeth ddaearyddol, gorchfygwyd ef gan ei hen chwant. Afradlonodd mewn byr amser yr ychydig arian oedd ganddo, gyda'r hwn orchwyl y cafodd gymdeithion cymwynasgar

i'w gynnorthwyo. Wedi gwario y swllt olaf, gadawodd ei holl gymdeithion ef i fwynhâu hyny o gysur a allai ei gael wrth synfyfyrio ar ei bwrs gwag. Meddyliodd ei fod, o'r diwedd, wedi gweled ei ffolineb, a thrachefn gwnaeth benderfyniad i ddiwygio. Wedi dyoddef newyn a chaledi mawr, llwyddodd i gael lle i ennill bywioliaeth gysurus. Yn fuan cafodd godiad i sefyllfa a'i galluogai i roddi arian o'r neilldu. Yr oedd ei ragolygon erbyn hyn yn ddysglaer, a gofidiai yn fynych na fuasai ei rieni a'i chwaer yn gwybod fel yr oedd yn dyfod ymlaen yn y byd; ond nid oedd ganddo ddigon o ymddiried ynddo ei hun i'w hysbysu o hyny. "Rhyfedd," meddai, "er fod Môr y Werydd rhyngom, pan fyddwn yn fachgen drwg credwn bob amser eich bod yn gwybod y cwbl am danaf, a'ch bod weithiau yn edrych arnaf gyda dirmyg, bryd arall gyda thosturi; ond pan yr oeddwn yn dyfod ymlaen yn dda, ac yn byw yn lled agos i fy lle, meddyliwn na wyddech ddim am danaf." Byr fu parhâd ei lwyddiant. Yr oedd wedi rhoi o'r neilldu ymron ddigon o arian i dalu yn ol yr hyn a fenthyciodd gan Tom Jenkins, pryd yr ymosododd yr hen demtasiwn arno gyda mwy o nerth nag erioed. Ymollyngodd yntau iddi gyda'r fath awch, fel pe buasai yn ceisio gwneyd i fyny i'r diafol am yr holl amser yr oedd wedi bod yn sobr. Yfodd yn ddidòr, a phan oedd yn estyn y geiniog olaf i'r tafarnwr, yr oedd ymron wedi dyrysu yn ei synwyrau; a chredai pe buasai yn ei feddiant bumswllt yn rhagor, y buasai ei reswm wedi ei adael am byth. Wrth gwrs collodd ymddiried ei feistr, ac yn ddilynol ei le.

Wedi hyn bu raid iddo fyned trwy gwrs o galedi mawr; a dechreuodd feddwl fod bai yn bod yn rhywle ar y wlad, ac nad oedd yn bosibl iddo fyw yn sobr yn yr America. Credai pe cawsai unwaith fyned adref y gallasai ddechreu bywyd o'r newydd. Hyd yn hyn yr oedd yn iach a chryf. Ymhen y rhawg, daeth yn ddamweiniol i gydnabyddiaeth â chapten llong, yr hwn wedi iddo glywed ei ystori, a roes gynnygiad iddo i weithio ei fordaith gartref. Derbyniodd y cynnygiad yn llawen. Tra bu ar fwrdd y llong, gweith-

iodd mor egnïol a chalonog nes ennill ffafr y capten, yr hwn, pan gyrhaeddasant Loegr, a ddywedodd wrtho, "Pugh, os na chewch groesaw gartref, deuwch yn ol ataf fi, a gwnaf longwr o honoch," a rhoddodd ychydig arian iddo. Ni ddysgwyliodd Robert Pugh y buasai yn gweled wyneb y capten byth ond hyny. Fel yr oedd yn nesâu i'r Dreflan, daeth mil o adgofion i'w feddwl. Meddyliai am yr amser pan oedd yn wych ei wisg, ac yn barchus a chariadus gan bawb. Mor wahanol yr oedd yn dychwelyd i'w gartref! Yr oedd yn dda ganddo fod y noswaith yn dywyll a dryghinog, ac nad oedd berygl i neb ei adnabod. "Pan oeddwn ymhell oddicartref," adroddai, "tybiwn mai gwaith hawdd a fuasai i mi syrthio wrth eich traed ac erfyn eich maddeuant; ond pan ddaethum at y Cartrefle y noson hono, diflanodd fy holl nerth, ac nis gallaswn am yr holl fyd roddi cnoc ar y drws, ac ymddangos ger eich bron yn y cyflwr yr oeddwn ynddo. Wedi i mi edrych drwy y ffenestr, a'ch gweled oll yn hapus a llawen, meddyliais mai creulondeb ynof a fuasai eich gwneyd yn anhapus; a phenderfynais fyned yn ol wedi i mi yn gyntaf gael gweled Ismael." Mae y darllenydd o bosibl yn cofio beth a ddygwyddodd y noswaith hono yn Muarth Jenkins. Wedi i Robert Pugh ymadael âg Ismael, trodd ei wyneb i'r cyfeiriad yr oedd ei gefn ato awr yn ol. Ar y ffordd ni welodd neb a adwaenai o bobl y Dreflan oddigerth Fox yr heddgeidwad, yr hwn oedd ar y pryd yn cellwair yn nrws rhyw dafarndŷ. Pan yn troi ei gefn unwaith yn rhagor ar ei gartref, penderfynodd na dychwelai byth yn ol nes ennill sefyllfa a'i galluogai i wneyd hyny heb orfod plygu ei ben o flaen ei deulu. Yr oedd yn ieuanc a chryf, a chyda chynnorthwy ei gyfaill y capten nid oedd yn gweled dim anhawsder iddo allu gwneyd hyny yn fuan. "Dyn a'm helpio," meddai, "yr oeddwn yn gallu gwneyd penderfyniadau da gystal ag undyn, a'u tori yn hwylusach na neb a welais erioed. Yr oedd mono yn waith caletach nag a ddychymygais ei fod, ac yr oeddwn wedi llwyr flino arno erbyn i mi gyrhaedd yr America. Wedi i mi gael rhoi fy nhroed ar dir sych, cefnais ar y capten caredig, ac ni

welais mo hono mwy. Syrthiais yn fuan i fy hen ffyrdd, weithiau yn gweithio ac weithiau yn meddwi, a phob amser yn yslotian gyda'r ddiod hyd y daliai yr arian. Bum yn y cyflwr hwn yn hir; a hwn ydyw y cyfnod duaf a mwyaf truenus yn fy hanes. Laweroedd o weithiau cefais fy hun ganol nos yn gorwedd mewn conglau a chwterydd, ac yn cael fy nghicio yn fy ystlysau gan yr heddgeidwad pan yn ceisio fy neffro. Ond goddefwch i mi ddyweyd hyn: yn fy holl ddrygioni ni bum yn euog o un pechod rhyfygus arall ond meddwdod, ac y mae hyny yn ormod o lawer. Edrychid arnaf yn y dref lle yr oeddwn fel un hollol anobeithiol, a gwyddwn innau hyny yn burion. Pan yn gweithio, gwnawn hyny, nid er mwyn cael ymborth, ond i gael diod. Gwirod oedd yn fy meddwl yn nghwsg ac yn effro. Yr oedd wedi myned yn glefyd arnaf; yr oeddwn yn llosgi am dano. Pan fethwn yn glir ei gael, byddai rhyw euogrwydd a phruddglwyf llethol yn dyfod drosof nad allaf ei ddesgrifio. Yr oeddwn yn dlawd a llwm ond ni ofalwn am hyny. O'r diwedd ciliodd fy iechyd, yr hyn ar y dechreu a barodd i mi ddychrynu; ond deu ais i gynnefino â hyny yn fuan; ac os yr un, yr oeddwn yn fwy awyddus am wirod na phan oeddwn yn iach. Yn raddol aethum yn rhy wan i allu gweithio, a bu raid i mi droi i gardota. Do, bum yn cardota am wythnosau. Un bore yr oeddwn newydd dderbyn cardod, ac yn ol fy arfer wedi ei gwario am wydriad, pryd y teimlais fath o lesmair yn dyfod drosof, ac y syrthiais ar yr heol.

"Mae blanc yn fy hanes ar ol hyn, ac nid blanc ychwaith, oblegid dyma y cyfnod hapusaf ar fy mywyd tra fum oddicartref. Meddyliwn fy mod yn y Dreflan. Gwelwn fy hun yn chware yn hapus gyda Tom Jenkins ac eraill o gwmpas y Cartrefle. Ar un adeg gwelwn fy hun am yspaid maith yn gorwedd yn fy ngwely gartref, a Kit yn gweini arnaf yn barhâus; ac yr oeddwn yn methu deall paham y gwnai hi hyny, a minnau yn teimlo yn berffaith iach a hapus. Bryd arall, byddwn yn yr ysgol, neu ar gefn y ferlen yn difyru fy hun, ac yn gwneyd campau, ac yn llawn iechyd ac ysbryd. Yr unig beth

a'm blinai oedd fy mod yn clywed llais Jeremiah Jenkins yn fy nilyn i bob man. Càn gynted ag y dechreuai Tom a minnau chware, clywem ei dad yn gwaeddi yn chwerw arno. Ond nid oedd Tom na minnau yn gofalu dim am dano, ac yr oeddem yn hollol ddedwydd. Ond och fi! breuddwyd oedd. Deffroais un diwrnod, a gwelwn fy hun mewn lle ac yn nghanol pobl ddyeithr. Yr oeddwn yn yr *hospital*, ac wedi bod yno, fel y dywedai y *nurse* wrthyf, er ys naw niwrnod. Meddyliais ei bod yn y pen arnaf; a rhwng argyhoeddiadau cydwybod euog a llesgedd mawr, yr oedd fy nghyflwr yn hollol druenus. Nis gallaf byth adrodd yr hyn a aeth drwy fy meddwl tra bum yno yn gorwedd yn fy ngwendid. Ymddygai y doctor a'r *nurse* yn garedig iawn ataf, ac o dipyn i beth dechreuais gryfhâu. Nid oedd ond un claf arall yn y *ward* lle yr oeddwn i, ac yr oedd hwnw yn cwyno yn barhâus; a thybiwn ar adegau oddiwrth ei swn ei fod yn rhegu ac yn melldithio. "Poor old man, he won't live long," ebe y *nurse* wrthyf un diwrnod. Teimlwn yn ddiolchgar wrth feddwl fy mod i, oedd yn bechadur mor fawr, yn gwella bob dydd; ac yr oeddwn yn awyddus iawn am gael cyfodi a gadael fy ngwely, ond ni chaniatâi y meddyg i mi wneyd hyny.

"Un noswaith methwn a chysgu, gan fel yr oedd fy nghydymaith yn y pen arall i'r *ward* yn gruddfan. Yr oedd ei lamp yn oleu, ac ofnwn y gallai fod y creadur truan yn marw. Penderfynais gyfodi a myned ato. Yr oedd yn orchwyl caled, ond trwy fawr drafferth aethum at ei wely. Gorweddai â'i wyneb oddiwrthyf. Pan glywodd fi yn nesâu, trodd i edrych arnaf. Pan welais ei wyneb bu agos i mi syrthio yn farw. 'Pwy —— ydych chwi?' ebe fe, yn groes ei dymher 'Robert Pugh, o'r Cartrefle, Mr. Jenkins,' atebais. Edrychodd arnaf yn syn, a dechreuodd grynu nes oedd y gwely yn ysgwyd odditano. 'Bob,' ebe efe yn y man, 'wyt ti yn gwybod fy hanes?' 'Yr wyf yn gwybod eich hanes, Mr. Jenkins, yn y Dreflan,' ebe fi, 'ond ni wyddwn eich bod yn y wlad hon.' Yr oedd Ismael wedi anfon ei hanes



Gwely Angeu Jeremiah Jenkins. t.d. 224.

i mi. 'Wel,' ebe efe, 'dydi o ddim *ods;* mae'r *game* yn y pen; ond paid a son wrth y bobl yma.' Cedwais ei hanes oddiwrth bawb. Parhëais i wella; ond bu y doctor yn ddigon gonest i ddyweyd wrthyf na byddwn byth yn iach, ac mai goreu po gyntaf yr awn adref. Hawdd iawn oedd iddo ef son am i mi fyned gartref, a minnau heb un geiniog ar fy helw. Meddyliais nad oedd genyf fi, yn anad neb, le i fod yn ddig wrth Jeremiah Jenkins am ei ddrygioni, a gwnaethum fy ngoreu iddo mewn ffordd o weini arno. Gwyddai, druan, ei fod yn marw yn gyflym; ac ni welais ac ni chlywais am neb mewn cyflwr mor ofnadwy. Yr oedd yn hollol anedifeiriol, ac yn cynddeiriogi wrth feddwl fod yn rhaid iddo farw. Ar adegau methwn ag aros wrth ei ochr; ac eto pan adawn i ef gwaeddai yn ddidòr am danaf. Eisteddwn wrth ochr ei wely y noswaith cyn iddo farw. Teimlwn fy ngwallt yn sefyll ar fy mhen wrth ei glywed yn siarad am y drychiolaethau a ymrithient o flaen ei lygaid. Yn y man trodd ataf yn sydyn, a dywedodd, 'Bob, f'aset ti'n leicio cael myn'd adref?' 'Yn fy nghalon,' ebe fi. 'Estyn y papyr llwyd sydd tan y matras,' ebe fe. Wedi chwilio tipyn, deuais o hyd iddo. 'Agor o,' ebe fe. Agorais ef, ac ynddo yr oedd pwrs llawn. 'Dal o i fyny,' gwaeddai Jenkins. Deliais ef o flaen ei lygaid. 'Edrych arno,' ebe efe yn gyffrous; 'dyna fy ninystr, fy melldith, fy namnedigaeth! Aur oedd fy nuw, aur oedd fy mhobpeth ar hyd fy oes. Gwerthais fy nghorff a fy enaid, gorthrymais y tlawd, y weddw, a'r amddifad, er ei fwyn. Cymerais gochl crefydd i gario allan fy nghynlluniau melldigedig; ac yn y diwedd methais yn fy amcan! Casäwyd fi gan fy ngwraig, fy machgen, a fy nghymydogion; a beth pe buaset yn gwybod y cwbl am danaf? ïe, y cwbl! Wedi dyfod drosodd i'r wlad hon, ceisiais wneyd ffortun wrth *gamblo*, ond methais; mae'r *game* drosodd! 'Rwyf yn taflu fy nghardiau i lawr—nid oes genyf un *trump* yn fy llaw, na gobaith am gael *double*, os gwyddost beth ydyw hyny. Mae angeu yn well chwareuwr na fi; mae yn fy

nhagu y fynyd yma!' Wrth ei glywed yn siarad mor ddychrynllyd, gollyngais y pwrs o fy llaw yn frawychus. 'Ffŵl,' ebe fe yn ddigofus, 'rho fo yn dy boced.' Gwrthodais wneyd hyny am amser; ond wrth ei weled yn cynhyrfu ac yn gwylltio, cyfodais y pwrs drachefn. ''Dydi o dda i ddim i mi,' meddai; 'ac heblaw hyny, yr wyf wedi twyllo dy dad am fwy na'i werth. Mae ynddo fwy nag a dâl am dy gario adref, a gelli roddi y gweddill i Tom os dewisi.' Rhaid i mi addef fod y gobaith am gael myned adref wedi fy ngorchfygu, a rhoddais y pwrs yn fy mhoced. Y fynyd y gwneis hyn, ymdawelodd Jeremiah, a syrthiodd i ystâd o anymwybyddiaeth. Drannoeth bu farw yn y pangfeydd a'r dychrynfeydd mwyaf arswydus. Ar ol claddu Jenkins, agorais y pwrs, a chefais ynddo werth hanner cant o bunnoedd. Arswydwn ddechre defnyddio yr arian, rhag ofn y buaswn yn syrthio i fy hen ffyrdd drygionus; a chan gynted ag y teimlais fy hun yn ddigon cryf, cymerais long am Loegr. Yr wyf yn teimlo yn rhy flinedig heno i adrodd ychwaneg o fy hanes. Mae Mr. Rees, yr hwn sydd wedi bod yn hynod garedig ataf heddyw, yn gwybod fy hanes neithiwr, fel y daethum at y Cartrefle ganol nos, ac fel y darfu i mi ddychrynu Kit a'r hogyn —fel yr aethum wedi hyny i dŷ Ismael, ac yn y blaen. Gwna Mr. Rees adrodd y gweddill i chwi."

Yn union deg syrthiodd Robert Pugh i gysgu, aethum innau gartref, gan adael Noah yn y Cartrefle.

---

## PENNOD XXV.

### DIWEDDGLO.

BU Robert Pugh yn dihoeni am wythnosau. Ar adegau tybid ei fod yn gwellâu, ond buan y syrthiai yn ol drachefn. Yn ystod yr wythnosau blinion

hyn, yr oedd un nas gadawodd ef ddydd na nos, oddigerth am ychydig oriau. Byddai hi yn wastad wrth ei ochr yn ceisio lliniaru ei boenau a chadw ei ysbryd i fyny. Tra yr oedd ei chalon fel plwm yn ei mynwes, cadwai wyneb siriol a llawen. Synai pawb sut yr oedd hi yn gallu dal allan cyhyd, a mynych y dywedai Robert Pugh, "O Kit, nid oes dy fath yn y byd." Treuliodd Noah lawer o amser gydag ef, ac nid yn ofer; oblegid y mae yn credu hyd y dydd hwn ei fod wedi cael y fraint o arwain ei feddwl i ymddiried yn Nhad yr holl afradloniaid. Chwith oedd gweled Mr. Pugh yn edrych mor brudd a phryderus. Hwyr a bore a chanol dydd byddai y fam wrth ochr ei bachgen yn dehongli ei ddymuniadau, y rhai na fedrai ef roddi mynegiad iddynt. Ond er yr holl weini a'r gwylio, ac er holl ymdrechion diflino Dr. Ellis, yn hollol sydyn un diwrnod ehedodd ysbryd y bachgen ieuanc ymaith tra nad oedd ond ei chwaer gydag ef yn yr ystafell. Nid oedd y dygwyddiad ond yr hyn oeddid yn ei ddysgwyl er ys dyddiau; ac eto pan ddaeth, nid oedd ei chwerwder ronyn llai. Daliodd Mrs. Pugh y brofedigaeth gyda'r tawelwch a'r ymostyngiad prydferth hwnw sydd yn nodweddu pobl o gynneddfau cryfion ac o argyhoeddiadau dwfn. Effeithiodd yr amgylchiad yn wahanol ar natur unplyg ac *impulsive* Mr. Pugh. Crymodd ei gefn a suddodd ei ysbryd o dan y ddyrnod. Pan adgofiwyf mor ieuanc a thyner oedd Miss Pugh, ac mor angerddol y carai hi ei brawd, nid rhyfedd genyf, erbyn hyn, ei bod wedi cymeryd ei farwolaeth mor fawr at ei chalon. Y rhawg ar ol hyn, sylwai wrth Noah a minnau, "Wrth fy ngweled mor drist, chydymdeimlai Jim â fi yn fawr, ac aeth dros yr un ymresymiad yn gymhwys ag a ddefnyddiais i gydag ef pan fu farw ei fam. Cofiai bob gair o hono. Ond mor rhyfedd! er fy mod yn teimlo yn ddwys dros Jim pan oedd yn y brofedigaeth, ni ddeallais ei ofid a'i hiraeth nes i mi ddyfod i'r un amgylchiad fy hun."

Aeth misoedd lawer heibio. Darfu i'r meddyg mawr

Amser, fel y mae o drugaredd yn arferol â gwneyd, liniaru cryn lawer os nad llwyr iachâu y clwyf a achoswyd gan farwolaeth Robert Pugh. Gwelwyd Mr. Pugh unwaith yn rhagor yn siriol a llawen; ond serch hyny yr oedd rhywbeth yn ôd ynddo. Dywedai Dr Ellis fod yr hen foneddwr wedi cael *slight stroke.* Pan elai allan i roddi tro, gwaghâi Mrs. Pugh ei logellau, onidê byddai wedi cyfranu hyny o arian a fyddai ar ei berson cyn iddo ddychwelyd. Gadawsai Susan y Cartrefle er ys amser, gyda'r amcan clodwiw o edrych ar ol tŷ, amgylchiadau, a chysur gŵr gweddw o grydd, yr hwn na fynai ei wrthod. Nid oedd Jim ychwaith yno mwyach; oblegid yr oedd ei noddwr caredig wedi sicrhâu sefyllfa dda iddo gyda masnachwr parchus mewn tref gyfagos, ymha le yr oedd yn dyfod ymlaen yn rhagorol.

Un bore, tra yr oedd Ismael Price yn ol ei arfer yn sefyll yn nrws ei dŷ yn mwynhâu ei getyn, tynwyd ei sylw gan ddwy iar Siân Jones. Yr oedd yr iar ddu yn pigo y drws, ac yn ymwrandaw yn ddyfal am atebiad; a'r iâr frêch wedi hedeg ar lintel y ffenestr, gan geisio yspio yn gywrain i'r gegin. Gan fod Siân yn arfer boregodi, deallodd Ismael fod rhywbeth heb fod yn iawn, ac aeth at y tŷ Yr oedd gorchudd ar y ffenestr, fel nad allai efe, mwy na'r iâr frêch, weled i mewn i'r tŷ. Curodd Ismael y drws, ond nid oedd ateb. Curodd yn drymach, gyda'r un canlyniad. Wedi galw ato un o'r cymydogion, torwyd y drws yn agored. Yr oedd y tân wedi llosgi allan yn lludw gwŷn, yr oedd y Bibl mawr â'r hoelion pres ar ei gonglau yn agored ar yr ystôl fawr a'r ysmotiau duon arni; a'r hen Siân â'i hyspectol ar ei gwyneb wedi taflu ei phen yn ol ar gefn y gader ddwyfraich ac yn berffaith lonydd. Pan agorwyd y drws, aeth y ddwy iâr i mewn i'r tŷ fel y gwnaethent gannoedd o weithiau, gan droi eu penau yn gam mewn agwedd ddysgwylgar am eu brecwast, ond gan nad oedd neb yn cymeryd sylw o honynt, dechreuodd y ddwy bigo ffedog stwff cartref yr hen Siân i alw ei sylw at eu hanghenion Ond nid ystyriai Siân, oblegid yr oedd ei

